DETHOLION O "STRAEON Y PENTAN."



SELECTIONS FROM

# Straeon y Pentan

(DANIEL OWEN);

Edited with Notes and Glossary,

By T. GWYNN JONES.



WREXHAM:
HUGHES AND SON.



# DETHOLION

O

# STRAEON Y PENTAN.

*

## SELECTIONS



FROM

# Straeon y Pentan

BY

DANIEL OWEN,

Edited, with Notes and a Glossary,

BY

**T. GWYNN JONES.**

*

WREXHAM:
HUGHES AND SON.

1910.

To

Dr. Kuno Meyer,

Director of the School

of

Irish Learning,

and

Lover of all things

Keltic,

this little book is,

by

kind permission,

dedicated.

# FOREWORD.

THE preparation of the following selections from STRAEON Y PENTAN has been undertaken upon the suggestion of Keltic scholars who feel that the stories of Daniel Owen, suitably treated, would constitute a useful READER to meet the wants of the ever-increasing number of students of Welsh who desire to become acquainted at the same time with modern literature and with the living speech as represented in the dialects. Such a treatment has been the aim of this little work, which, however, does not claim to be exhaustive. As the book is meant to be of assistance to students, I have attempted to make the text orthographically consistent, but points of grammar and of idiom are dealt with in footnotes, and a glossary added. The extent of the section dealing with the Dialect did not seem to me to call for the use of phonetic characters. The method employed will be readily understood if it be borne in mind that ə stands for the obscure sound of *e*, *tsh* for the English *ch* in *church*, *dz* for the English *j*, and *j* for the consonantal *i*.

For valuable suggestions in the preparation of the work and for assistance in the reading of the proofs, I am indebted to Mr. J. Glyn Davies, of the University of Liverpool; and my thanks are due to the publishers for their care and courtesy.

T. GWYNN JONES.

*Aberystwyth,*
1910.

# CONTENTS.

# DETHOLION

o

# STRAEON Y PENTAN.

++++++

## TOMOS MATHIAS.

ERBYN hyn, ebe f'ewyrth Edward, y mae yr hen *Waterloo Veterans* wedi myned i gyd, mi dybygaf. Yr wyf yn cofio amryw ohonynt yn dda, ac yn eu plith, Tomos Mathias. Yr oedd Tomos yn byw mewn tŷ bychan y tu ol i'r *Blue Bell*, Maes y Dref, yr Wyddgrug. Un o'r tai lleiaf a welais yn fy mywyd oedd tŷ Tomos, ac fe ddywedid mai rhyw brynhawn ar ol noswŷlio y gwnaeth Jac y Saer, sef y perchennog, y tŷ, a bod Tomos yn derbyn llythyr ynddo fore drannoeth.

Prun bynnag am hynny, dyna'r tŷ lleiaf a welais erioed. Buasit yn medru estyn pob peth oedd yn y gegin heb godi oddiar dy eistedd, ac nid oedd y siambr ddim ond *just* ffit o le i wely. Yr oedd pobl yn dywedyd, pan fu Tomos yn sâl ryw dro, mai drwy'r ffenestr y danghosodd ei dafod i'r doctor, yr hwn oedd isio gwybod ystad ei ystumog. Ond wn i ddim a oedd hynny yn wir ai peidio. Yn y caban bach yma y bu Tomos a Beti ei wraig yn byw lawer o flynyddoedd.

---

*Line.*

11. ***Prun.*** The usual literary form is *pa un*, but *prun* may be from *para*, a form frequently found in 16th century ballads. See Strachan's "Introduction to early Welsh," § 80 *et seq.*

14. ***Just ffit o le, prin ddigon o le.***

17. ***Yr hwn oedd isio gwybod, &c., a fynnai wybod pa beth oedd, &c.*** This device for getting an equivalent of the relative admitting of a causal construction is common (See Strachan, § 90), but here, in the dialect, *oedd* would be employed relatively, with a verbal use of *isio*.

Yr oedd Tomos wedi bod mewn rhai brwydrau, ac yn un ohonynt—wn i ddim ai yn Waterloo y bu hynny—cipiwyd darn o asgwrn ei ben i ffwrdd, dipyn y tu ucha i'r coryn. Ond fe ddarfu doctoriaid y fyddin wneud *job* nêt ryfeddol ar ben yr hen greadur, drwy roi plât arian dros y twll rhag i'w ymennydd fod yn y golwg. Mi welais y plât arian â'm llygaid fy hun ddegau o weithiau. Dywedai Tomos y byddai yn aml heb yr un geiniog, ond na byddai byth heb arian. Derbyniai chwe cheiniog y dydd o bensiwn am ymladd dros ei wlad; ond bob chwarter blwyddyn y câi yr arian gan Sergeant Major Evans. Hen begor rhyfedd oedd y *major*, ond ystori arall ydyw honno.

Yn gyffredin, yr oedd Tomos cyn llawened â'r gog, a phob amser mor ddiniwed â'r golomen. Ond yr oedd ynddo un bai pwysig—yr oedd yn ffond ryfeddol o gwrw, ac nid oedd Beti yn ddirwestwraig. Er mor ddiniwed oedd y ddau hen ben, yr oeddynt yn baganiaid enbyd, ac nid oedd ganddynt o'r bron ddim syniad am grefydd. Ae Tomos i'r eglwys unwaith bob tri mis—sef y Sabboth o flaen y pensiwn, er mwyn i'r Sergeant-Major Evans gofio ei fod yn fyw. Rhoddid *trust* i Tomos hyd at swm neilltuol, gan Mali Dafis, y Siop Bach, a chan un neu ddwy o dafarnau, i aros diwrnod y pensiwn. Wedi myned at farc y *trust*, byddai Tomos a Beti yn dlawd iawn. Ond y peth cyntaf a wnai yr hen

*Line.*

4—5. *Fe ddarfu doctoriaid y fyddin wneud job nêt ryfeddol, Gwnaeth doctoriaid y fyddin waith da ryfeddol.*

17—18. *Ffond ryfeddol o gwrw, Yn hoff dros ben o, &c.*

22. *Sabboth.* In the diction of the religious circles, this term has supplanted *dydd Sul.*

24. *Rhoddid trust, Rhoddid coel. Rhoi coel* is a common dialect expression.

27. *At farc y trust, I ben ei linyn.*

sowldiwr wedi derbyn ei arian—ac yn hyn, yr oedd yn siampl i lawer yn y dyddiau hyn—oedd myned o gwmpas i dalu ei ddylêd, ac yna, fel yr oedd gwaetha'r modd, gwariai ef a Beti y gweddill am gwrw. Ond, fel y dywedais, byddai yn brinder mawr arnynt am wythnosau cyn diwrnod y pensiwn, a llawer sgil a wnai Tomos i gael diferyn. Ar adeg felly, un tro, aeth Tomos at ŵr dieithr oedd newydd agor tafarn yn y gymydogaeth, a gofynnodd,—

"Ddyn glân, ga i beint o gwrw gynnoch chi ?"

"Cewch, os oes gynnochi arian," ebe'r tafarnwr.

"Fydda i byth heb arian," ebe Tomos, ac estynnodd y dyn y ddiod iddo.

Wrth ei weled heb wneud osgo i dalu, ebe'r tafarnwr,—

"Lle mae'r prês, ddyn ?"

"'Does gen i ddim prês, ond y mae gen i arian," ebe Tomos, a thynnodd ei het a danghosodd iddo y plât arian ar dop ei ben. Synnodd y tafarnwr yn fawr, ac ni rwgnachodd am iddo gael ei wneud am dro.

Un noson oer yn y gaeaf, yr oedd Tomos a Beti yn ysgrythu o flaen mymryn o dân oedd yn y grât, ac yr oedd yn glem wyllt arnynt, oblegid nid oedd ond wythnos hyd ddiwrnod y pensiwn. Ochneidiodd Beti yn llwythog, ac ebe hi,—

"Wyst ti be, Tomos, mi leiciwn by-dawn i yn y nefoedd."

"Be ddeydest ti ?" ebe Tomos.

---

*Line.*

17. *Lle mae'r pres ? Pa le,* &c. *Lle,* for *ple=pa le,* is very common.

20. *Ar dop ei ben,* E.,=*ar ei goryn.*

21. *Gael ei wneud,* E.,=*gael ei dwyllo.*

28. *By-dawn*>*pedfawn,* if I were.

“Y leiciwn i yn ’y nghalon by-dawn i yn y nefoedd,” ebe Beti.

“Ho, felly’n wir,” ebe Tomos, “mi leiciwn inne by-dawn i yn y dafarn a pheint o gwrw o ’mlaen.”

“Yr hen sgrwb,” ebe Beti, “yr wyt ti’n wastad am y lle gore.”

Mi fedrwn adrodd iti amryw o bethau cyffelyb am Tomos a Beti Mathias, ebe F’ewyrth Edward, ond dyna ddigon i ddangos iti mor anwybodus a diniwed oedd yr hen bobl er’s talm, ac mor ddiolchgar y dylech chi, fechgyn yr oes hon, fod, am eich manteision addysg a’r Ysgol Sul a’i breintiau.

---

## HEN GYMERIAD.

“A MAE Ned Sibion wedi marw, ydi o?” ebe F’ewyrth Edward.

Un o’r creaduriaid rhyfeddaf a welais yn fy mywyd oedd Ned, ac un o’r pethau mwyaf anhawdd dan haul a fyddai desgrifio ei gymeriad yn gywir. Yr oedd yn rhaid gweled, clywed, ac adnabod Ned cyn y gellid ffurfio syniad am ddigrifwch ei gymeriad, ac y mae’r byd yn dlotach o’i golli. Wn i ddim pa beth ydyw’r achos, ond y mae hen garitors

---

*Line.*

14. *A mae=Ac y mae.*

17. *Anhawdd.* This with the penult accent becomes *anodd,* and should be so written, or separated—*an hawdd,* though the bards sometimes write *anawdd.*

20. *Ffurfio syniad,* E., form an idea. *Cael syniad* is a common dialect expression.

21. *Yn dlotach.* From *tlawd.* The unvoicing of the *d* in the Comp. is analogical; the Superlative termination was *haf,* and d + h = t.

21—22. *Wn i ddim* and *dwn i ddim,* the latter from *nid wn i ddim* are now indiscriminately used.

rhyfedd yn mynd yn brinnach bob dydd. Y mae addysg neu rywbeth, fel y dywedodd Wil Bryan er's llawer dydd, yn ein gwneud ni i gyd yn gyffelyb i *postage stamps*. Llys-enw oedd Ned Sibion; Edward Williams oedd enw y dyn, ac yr wyf yn meddwl mai o blwyf Ysgeifiog yr oedd yn hannu. Yr oedd tipyn o natur llys-enw yn y teulu, a'r "Hen Grothe" y byddent yn galw ei dad—yr wyf yn ei gofio'n burion. Nid oedd Ned, druan, yn ben llathen, ac o herwydd hynny, y mae'n debyg, ni chlywais erioed fod gan neb gas-galon iddo. Bu Ned yn briod dair gwaith, ac yr oedd y tair gwraig yn debyg iawn i'w gilydd, ac iddo yntau. Y mae brân i frân. A bu raid i'r tair ymostwng i'r un rheol—sef byw efo fo am fis o dreial cyn iddo eu priodi, er mwyn iddo brofi eu tymer. Un o'r dynion mwyaf diddiogi a welais erioed oedd Ned, ac yr oedd bob amser, prun bynnag ai hel carpiau y byddai ai rhywbeth arall, fel pe buasai yn lladd nadroedd, ac mor brysur a Robin y Busnes. Er ei fod yn hynod o onest, ni byddai byth yn edrych yn wyneb neb,

---

*Line.*

2. *Wil Bryan.* A character in "Hunangofiant Rhys Lewis," one of the author's novels.
4. Postage stamps, *stampiau llythyrau.*
8. "*Hen Grothe,*" a nickname, "Old Fat-leg."
10. *Yn ben llathen,* lit., *a full yard,* not quite in his senses. *Yn llawn llathen* is also used.
11. *Erioed.* From *er* (since) and *oed* (time), with infixed pron., 3rd sing. Now used for all persons.
14. *Mae bran i fran, Every crow has a partner.*—Cf. the following from an old ballad :—

    "Os collais innau eneth lân,
    Mae brân i frân yn rhywle."

15. *Efo fo=gydag ef.*
19. *Lladd nadroedd,* to be extremely busy, lit., to kill snakes.
20. *Robin y Busnes,* a well-known pauper.

ac os safai i siarad â rhywun, byddai ei lygaid yn ysgwta o gwmpas ei draed. Yr oedd Ned fel pe buasai wedi ei fwriadu gan Ragluniaeth i ffeindio pethau, ac yn wir, yr oedd pobl yn dywedyd ei fod wedi ffeindio llawer yn ystod ei oes. Codai Ned efo'r wawr drannoeth ar ol pob ffair a marchnad, a byddai ei lygaid yn cyniwair ym mhob ystryd am rywbeth a allai ei ffeindio. Drwy fisoedd yr haf, byddai Ned bob bore Sul wedi llygadu pob twll a chornel ym mhob heol cyn i bobl ereill godi o'u gwelyau, ac, i dawelu ei gydwybod, y mae'n debyg, byddai yn canu hymnau ar fore Sabboth. Mi a'i clywais ddegau o weithiau o fy ngwely. Beth bynnag a fyddai y geiriau, yr un dôn oedd ganddo yn wastad, a honno, mi gredaf, o'i gyfansoddiad ef ei hun—rhyw fath o *chant* yn y cywair lleddf—hynod o Gymreig o ran ei sŵn. Ni buasai Ned yn dal at y gwaith o chwilota fel hyn am oes gyfan, oni bai ei fod yn ffeindio pethau weithiau. Yr wyf yn cofio un tro fod dyn wedi meddwi mor dost ar nos Sadwrn nes collodd ei *watch*, ac ni wyddai yn y byd mawr ym mha le. Ond cafodd y *watch* gan Ned brynhawn Sul, ac ni roddodd geiniog o wobr i'r creadur gonest. Bu hyn, yr wyf yn meddwl, yn wers i Ned i gadw pob peth a ffeindiai o hynny allan.

Nid rhyw lawer o syniad oedd gan Ned am bellter. Ar adeg cynhaeaf un tro, yr oedd y Proffeswr Edwards yn cerdded i lawr Foregate Street, Caer, a phwy a welai ar yr heol, a sicl dan ei gesail, ond Ned. Aeth ato, ac ebe fe wrtho,—

*Line.*

3—4. *I ffeindio pethau*, **E.**, *i gael hyd i bethau.*

18. *Y gwaith o chwilota, gwaith chwilota.* The intrusion of the "o" is due to the influence of English. It is rarely spoken. Read, "*dal at chwilota.*"

29. *Proffeswr Edwards.* A well-known writer and divine, and then Principal of the Bala Theological College.

"Wel, Edward, be 'dech chi'n i neud yma ?"

"Mynd i lawr i Lunden 'rydw i, Mr. Edwards, i'r cneua—mae'n nhw'n deyd mae lle clyfar anwêdd ydi Llunden adeg cneua," ebe Ned.

Hynny fu. Ym mhen yr wythnos yr oedd y Proffeswr yn dod i lawr hyd ystryd Wyddgrug, a phwy a welai ond Ned, ac ebe fe,—

"Helo, Edward, 'roeddwn i yn meddwl eich bod yn mynd i Lunden i'r cynhaea ?"

"Wel, na, Mr. Edwards," ebe Ned, "'deis i ddim 'cosach i Lunden na Phargiât, welwch chi."

Mi warantaf fod dau gant o lathenni rhwng tŷ Ned a'r ffynnon lle byddai yn cael dwfr, a gwelais ef un diwrnod yn myned i'r ffynnon a dau biser mawr ganddo. Wedi eu llenwi â dwfr, cariai un o honynt encyd o ffordd, a gosodai ef i lawr, yna âi i nol y llall, a gosodai ef i lawr yn ymyl y cyntaf. Ac felly cariai hwynt nes dod â'r ddau i'r tŷ. Gofynnais iddo paham yr oedd yn gwneud felly. "Safio amser, welwch chi," ebe Ned.

Nid rhyw lawer o syniad oedd ganddo ychwaith am werth arian. Un tro aeth Ned, wedi bo nos, at Tomos Roberts, Tŷ Draw, i brynu iâr, ac wedi i Mr. Roberts ddal yr iâr dan yr hofel, aeth yn fargeinio rhwng y ddau am y pris.

---

*Line.*

1. *Be 'dech chi'n i neud=pa beth yr ydych chwi yn ei wneud ?*

6. *Dod*, from *dyfod*, a Southern dialect form introduced by the hymns. The Northern form is *dwad*. See Paradigm, § 5. (b).

11. *Pargiat*=Parkgate, on the Dee, opposite to Flint. Note the mutation after *na*.

17. *Nol.* This is a good instance of the conversion of an adverbial phrase into a verb. *Mynd yn ol*, to go after, to seek, hence *nol*=to fetch.

"Faint ydech chi isio am dani, Mr. Roberts," ebe Ned.

"Wel," ebe Mr. Roberts, "mi cei di hi am bymtheg."

"Wel, nana wir, mi ro i chi ddeunaw, os leiciwch chi," ebe Ned.

"Ond ydw i'n deyd y cei di hi am bymtheg," ebe Mr Roberts.

"Mi ro i ichi ddeunaw, a'r un ffyrling chwaneg," ebe Ned.

"Purion," ebe Mr. Roberts, a thrôdd dair ceiniog yn ol iddo.

Un adeg yr oedd Ned yn labro i Mr. Joseph Eaton am ddau a grôt yn y dydd; ond collwyd ef ddydd Llun a dydd Mawrth. Pan ddaeth at ei waith fore Mercher, ebe Mr. Eaton wrtho,—

"Wel, Edward, lle buoch chi ddoe ag echdoe ?"

"Mi eis i lawr i Fflint i hel cocos, Mr. Eaton," ebe Ned.

"Ddaru chi neud yn o dda ?" gofynnai ei feistr.

"Do," ebe Ned, "yn dda anwêdd ac ordor. Mi helies beth digydwybod o honyn nhw, a mi

*Line.*

1. *Faint ydech chi isio=Pa faint y sydd arnoch ei eisiau.* Another instance of the verbal treatment of *isio.*
3. *Mi cei.* The non-lenation of the *c* in *cei* is due to the influence of the dropped *a'i,* once preceding *cei.*
4. *Pymtheg,* fifteen pence. Numerals are often used without specifying the coin, as in *chwech,* sixpence; *deunaw,* eighteen pence; and *chweugain,* six score (pence).
5. *Nana=na wnaf.*
9. *A'r un ffyrling chwaneg,* not a farthing more. The negative is omitted.
14. *Dau a grot. Vid. Supra.*
22. *Yn dda anwêdd ac ordor,* uncommonly well. Both words are negatived by "an."

eis efo nhw i Ruthyn ddoe, a mi ges bumrot am danyn nhw, welwch chi."

"Wel, heblaw cerdded deng milltir ar hugien, dyma chi wedi colli tri swllt mewn cyflog," ebe Mr. Eaton.

"Waeth i chi befo, mi 'nes yn siampal o dda, Mr. Eaton," ebe Ned.

Byddai Ned yn newid ei feddwl yn sydyn iawn weithiau. Yr wyf yn cofio fy mod un tro eisiau cael symud y domen, ac mi wyddwn y byddai Ned yn gwneud rhyw *jobs* felly, a phan welais ef, gofynnais iddo ddyfod i wneud y gwaith.

"Mi ddof acw i'w gweled hi," ebe Ned; a'r prynhawn hwnnw mi gwelwn ef yn simio y domen. Er fod dy fodryb yn adnabod Ned yn dda, nid oedd erioed wedi ei glywed yn siarad, a dywedodd y deuai gyda mi i'r buarth i wrando arno ef a minnau yn gwneud y fargen. Rhoddais siars arni i beidio â chwerthin, neu y byddai yn sicr o andwyo y fargen, achos ni fedrai Ned oddef i neb chwerthin am ei ben. Addawodd hithau y byddai reit sad, ac i'r buarth yr euthom. Wedi i Ned simio cryn lawer ar y domen, deuthom i'r fargen fod i mi roddi iddo hanner coron am ei symud, ac yr oedd dy fodryb bron a marw o eisiau chwerthin wrth glywed Ned yn siarad mor fabanaidd.

---

*Line.*

1. *Bumrot*=five groats. Note the lenation after *pum*, which seems to occur in compounds only—*pumrot*, but *pum grot*.

6. *Befo*=*pa beth a fo*, what may be.

9—10. *Fy mod . . . eisiau*=*fod arnaf eisiau*.

11. *Rhyw jobs*. *Rhyw fân swyddi* would have been a more accurate rendering of even dialect.

14. *Mi gwelwn*>*mi a'i gwelwn*. See Note, p. 8, l. 3.

20. *Achos*=*o achos*, because.

22. *Reit sad*—quite serious. In Welsh, *sad* preserves its Mid. English meaning, as in *sadia !*=steady thyself !

"Ond cofiwch chi, Edward," ebe fi, "y rhaid i chi ei symud yn fore ddydd Llun."

"Wel," ebe Ned, "os bydd hi'n braf ('hwb,' ebe dy fodryb)—ddo i ddim," a ffwrdd â fo, ac ni ddaeth i symud y domen. Yr oedd dy fodryb drwy chwerthin wedi andwyo'r cwbl, a gwneud i Ned newid ei feddwl ar ganol y frawddeg.

Am amser, bu Ned yn byw yn un o'r cabanod sydd dan yr entri yn nhop Henffordd, ac ar y pryd, ei fusnes pennaf oedd hel carpiau. Ar ryw ddamwain, yr oedd wedi cael dau bâr o olwynion bychain ar echeli, ac aeth ati i wneud gwagen fechan i ddal y carpiau. Bu rai diwrnodau yn gwneud y wagen, ac wedi ei gorffen, cychwynnodd gyda hi i hel carpiau, ond yr oedd y wagen yn lletach lawer na'r entri, ac ni fedrai ei chael drwodd, ac wrth ei weled yn y drafferth, ebe ei gymydog Drury wrtho,—

"Wel, Edward, mae'ch gwagen chi yn rhy lydan."

"Nag ydi," ebe Ned, "yr entri sy'n rhy gul," ac aeth i'r tŷ mewn tymer ddrwg, a chyrchodd forthwyl a thorrodd y wagen, yr olwynion a'r cwbl yn ulw mân.

Nid wn i ddim sut y mae hi ar Ned erbyn hyn; ond y mae yn o anodd gennyf feddwl y bydd y Brenin Mawr yn galed wrtho—yr oedd o mor ddiniwed. Nid oedd y duedd grefyddol yn gref yn Ned; ac eto, ni fedrai adael llonydd i grefydd. Anaml yr âe i foddion gras ar y Sabboth, ond mwy anaml y byddai yn absennol o bob moddion

---

*Line.*

4. *Ddo i ddim=Ni ddof fi ddim.*

9. *Yn nhop*, E., *ym mhen uchaf.*

30. *Mwy anaml=anamlach.*

30. *bob moddion.* The author probably meant *unrhyw foddion*, any service.

ar gyfarfod pregethu, gan nad gyda pha enwad y cynhelid y cyfarfod. Ar Sasiwn, Cymanfa neu gyfarfod pregethu, byddai Ned yn amlwg iawn. Ond bum yn ofni mai dyfod i'r cyfarfodydd y byddai er mwyn dangos ei fotymau, oblegid ar y cyfryw achlysuron, byddai y botymau mawr a gloew a fyddai ar ei gôt a'i wasgod yn tynnu sylw pawb. Ac eto, nid fy lle i ydyw barnu amcanion Ned. Hwyrach y tybiai Ned mai trwy ei fotymau y gallai ef oreu ogoneddu Duw. A phwy a ŵyr ?

Er na wyddai Ned, mwy na phost llidiart, y gwahaniaeth rhwng Rhyddfrydwr a Thori, ymorchestai ei fod yn *Liberal* at y carn, a phan basiwyd y ddeddf i roddi fôt i bob tŷ-ddaliwr, ac iddo ddeall fod ganddo bleidlais, nid oedd trin arno. Yr wyf yn cofio, fel petasai ddoe, y lecsiwn gyntaf wedi i'r ddeddf ddyfod i weithrediad. Yr oedd Ned yn ei lân drwsiad cyn saith ar gloch y bore, a'i fotymau yn disgleirio. Dywedai wrth bawb a gyfarfyddai, nad oedd am fotio i'r naill ochr na'r llall. Wedi deall hynny, ymlidiwyd ef gan y toris mwyaf dylanwadol am oriau bwygilydd, a rhedai Ned fel ysgyfarnog o'u ffordd, hyd y ffyrdd a'r caeau, nes iddo flino pawb. Ond oddeutu chwarter awr cyn adeg cau'r pôl, daeth Ned o hono ei hun i ymyl y lle, a gosododd ei gefn ar y wal i herio pawb. Crefwyd arno gan rai o bobl fwyaf blaenllaw y ddwyblaid i fotio ; ond atebai Ned,—" By-dae'r Apostol Paul ei hun yn gofyn i mi fotio, 'na i ddim."

Yn y munud daeth y *Liberal Agent*—oedd yn ŵr callach na'r cyffredin—heibio, ac wrth

---

*Line.*
15. *ty-ddaliwr*, E., house-holder. *Deiliad ty.*
26. *cau'r pol*, E., closing of the poll.

weled y dyrfa o gwmpas Ned yn ceisio ei berswadio i fotio, ebe fe,—

"Be haru chi, bobol ? ydech chi'n meddwl nad ŵyr Edward ddim sut ac i bwy i fotio, heb i chi i ddysgu fo ? Gadewch lonydd i'r dyn. Mi ŵyr Edward nad oes dim ond pum munud nes bydd y pôl yn cau," ac aeth ymaith.

Aeth Ned yn syth i'r pôl a fotiodd dros y Rhyddfrydwr. Wedi iddo ddod allan, gwisgwyd Ned â rubanau melynion, a chariwyd ef ar ysgwyddau y *Liberals* i fyny ac i lawr y dref am oriau, ac ni welais yn fy mywyd y fath firi a llawenydd diniwed mewn lecsiwn, ac yr oedd Ned Sibion yn ymorfoleddu yn yr anrhydedd a roddid arno.

"Wel, wel, a mae Ned druan wedi marw ! Wyddost ti be, mi fydd yn chwith arw gen i am dano," ebe F'ewyrth Edward.

---

## RHY DEBYG.

A FUOST ti erioed yn synnu, ebe F'ewyrth Edward, er cymaint o bobl sydd yn y byd, a bod wynebau pawb o honom ar yr un ffurf a chynllun, mor anaml y cei di ddau wyneb mor debyg i'w gilydd na fedri di ganfod yn union, wrth graffu arnynt, fod digon o wahaniaeth ynddynt ? Bendith fawr ydyw hyn ; a byddaf yn gweled cymaint o ddoethineb y Creawdwr mawr ynddo âg mewn dim. Ac un o'r pethau casaf gennyf ar wyneb daear ydyw gweled rhai hynod debyg i'w gilydd, megis efeilliaid, ac y mae gennyf reswm da am hynny. Dyma iti ystori ysmala yn fy hanes i fy hun—bron yn rhy ysmala i'w chredu, ond gelli ei chredu neu beidio.

---

*Line.*

3. *be haru chi ?*>*pa beth a ddarfu i chwi ?*

Pan oeddwn i oddeutu ŵyth ar hugain oed, yr oedd gennyf fusnes i fyned i Groesoswallt. Cymerai ormod o amser i mi ddywedyd wrthyt pa beth oedd y busnes, ond, yn fyrr, yr oedd gen i eisio gweled dyn ar fater pwysig, ac yr oedd yntau wedi addaw cyfarfod â mi yng Nghroesoswallt yn y ffair geffylau. O herwydd pellter y ffordd, a rhag i mi ei golli, yr oeddwn wedi gofalu cyrraedd y dref y noson o flaen y ffair. Cefais lety digon cyfforddus mewn tŷ preifat. Gwyddwn yn burion er's blynyddau fod rhai o deulu fy mam yn byw yn agos i Groesoswallt, ond o herwydd rhyw ffrae, nid oedd dim cyfathrach wedi bod rhyngom ni â hwy; ac, hyd yr oeddwn yn cofio, nid oeddwn wedi gweled un o honynt erioed, ac nid oeddwn yn bwriadu ymweled â hwynt, nac ymholi dim yn eu cylch. "Paid a myreth dim â nhw; os medran nhw neud hebddon ni, mi fedrwn ninne neud hebddyn nhwthe," ebe fy mam, pan oeddwn yn cychwyn, ac ni feddyliais, mwy, am danynt.

Nid oeddwn erioed wedi bod yng Nghroesoswallt o'r blaen, a thrannoeth y bore, crwydrais gryn dipyn i weled y dref, achos nid oedd ffair y ceffylau ddim yn dechreu tan ganol dydd. Wrth droi am gornel ystryd, mi ddois i wyneb clamp o blismon, ac mi rythodd arnaf fel petasai gennyf gyrn ar fy mhen. Yr oeddwn yn methu dallt pam yr oedd y dyn yn rhythu arnaf felly, achos nid oedd dim neilltuol yn fy ngwisg i, oblegid yr oedd agos i bob ffarmwr y pryd hwnnw yn gwisgo brethyn cartref. Yr oeddwn yn meddwl nad oedd dim neilltuol ynof i dynnu sylw ond fy ngwallt,—

*Line.*

4. *Gen i eisio=arnaf eisiau.*

28. *Achos=o achos,* because.

yr hwn, pan oeddwn yn ifanc, oedd cyn ddued â'r fran, ac yn grych fel gwlan oen bach. I mi gyfaddef fy ngwendid i ti, yr oeddwn yn meddwl cryn dipyn o fy ngwallt, achos nid oeddwn i erioed wedi gweled ei debyg. Hynny a fu, ac ni feddyliais mwy am y plismon. Crwydrais awr arall hyd y dref nes oeddwn wedi blino, a mi drois i dŷ tafarn i orffwyso tipyn. Nid oedd neb yn meddwl dim at hynny yr adeg honno. Mi warantaf fy mod i wedi bod yn y dafarn chwarter awr mewn ystafell ar fy mhen fy hun yn bwrw yr amser heibio, pryd y daeth i mewn ddyn tua'r un oed â mi, ac mor debyg i mi nes dychrynais wrth edrych arno. Yr oedd ei wallt yn ddu a chrych fel fy un innau, a'i wyneb yr un ffunud a fy wyneb innau, ac nid oedd fawr o wahaniaeth yn lliw ei ddillad. Oni bâi fy mod yn gwybod fod hynny yn amhosibl, buaswn yn tyngu mai fi fy hun oedd y dyn. Gwelwn ei fod yntau wedi ei daro gan y tebygrwydd, ond ni ddywedodd air. Cerddodd yn ol a blaen hyd yr ystafell am funud, yna safodd ac edrychodd drwy y ffenestr i'r heol; ac heb alw am ddim i'w yfed, llithrodd allan yn ddistaw drwy ddrws oedd yn ymddangos i mi fel y drws cefn i'r tŷ. Ymhen dau funud, dyma'r plismon a welswn o'r blaen i'r ystafell, ac ebe fe,—

"Wel, John Jones, yr ydech chi wedi troi gartref o'r diwedd?"

"Fy enw i ydi Edward Jones, a mae'n debyg

*Line.*

1. *Yr hwn.* See Note, p. 1. l. 17. Read—"*Yr oedd hwnnw, pan oeddwn yn ifanc, cyn ddued, &c.*
7. *A mi drois*=*a throais.*
11. *Ar fy mhen fy hun*, by myself, alone.
18. *Fi fy hun*=*myfi.*
29. *Fy enw i ydi Edward Jones.* This is a literal translation of the English order. Read *Edward Jones ydi f'enw i.*

eich bod yn fy nghamgymeryd am y gŵr sydd newydd fynd allan," ebe fi.

"Thâl stori fel ene ddim i mi, John, yr ydw i yn ych 'nabod yn rhy dda o lawer, a gwell i chi ddwad efo fi ar unwaith," ebe'r plismon.

Heb fod lawer oddicartref, yr oeddwn yn bur ddiniwed, ac yr oeddwn wedi dychrynu yn enbyd. Protestiais nad myfi oedd John Jones, pwy bynnag oedd hwnnw; a dywedais, yn fyrr fy ngwynt, dipyn o fy hanes, a chymerais fy llw nad oeddwn wedi bod yng Nghroesoswallt o'r blaen yn fy mywyd. Ond ni chafodd dim a ddywedais wrth y plismon fwy o argraff arno na pheri iddo wenu yn wawdlyd, ac ebe fe,—

"John, waeth i chi roi stop arni yn y fan ene; neiff cyboli celwydd lês yn y byd i chi. Dowch efo fi yn ddistaw ac yn llonydd."

"Beth ydi'r cyhuddiad yn fy erbyn?" gofynnais innau.

"'Does dim isio deyd pader i berson," ebe yntau.

Gelwais ar wraig y dafarn, gan ddisgwyl rhyw gynhorthwy ganddi hi, ond ni wnaeth honno ddim ond gwneud fy helynt yn fwy. Tyngodd ar ei pheth mawr na bu un dyn yn y tŷ tra bum i yno, a galwodd ar y forwyn a thyngodd honno yr un peth.

"Ydech chi'n gweled, John, na 'neiff palu celwydd lês yn y byd i chi?" ebe'r plismon.

---

*Line.*

3. *Thal.* Except in relative constructions, the negative *ni* is commonly not expressed, but produces the mutation.
8. *Protestiais.* This suggests translation, as *protestio* is never used in this sense in spoken Welsh.
20. *Deyd pader i berson,* to teach a parson his paternoster.
24—25. *Tyngodd ar ei pheth mawr,* she swore a great oath.
28—29. *Palu celwydd,* to lie hard.

"Hoswch chi," ebe'r wraig, "ai nid John Jones, Tan 'Rallt, ydi o? Wel, on'd oeddwn i'n smala na faswn i'n 'nabod y dyn?"

"Yn smala, oeddech, debyg," ebe'r plismon.

"Yr ydech chi'n gneud camgymeriad yn siwr," ebe fi, ac yr oeddwn *just* a chrïo.

"Mi weles Mary ddoe, a 'roedd hi'n sôn am danoch chi, John," ebe'r forwyn wrthyf yn ddistaw, ac mi fuaswn yn medrud ei tharo.

"Dyma chi, John," ebe'r plismon, "os na ddowch chi efo fi yn ddistaw ac yn llonydd, mi fydd raid i mi'ch hancyffio chi, ond 'does gen i ddim isio'ch sposio chi."

"Ie, ewch y machgen i, heb 'neud row," ebe'r dafarnwraig.

A myned a wneuthum i—yn wir, nid oedd gennyf ddim dewis—yr oedd yn rhaid i mi fyned, ond yr oeddwn yn disgwyl y caent ryw oleuni ar eu camgymeriad. Yr oedd yn ddiwrnod ffair, fel y dywedais, ac yr oedd cannoedd o lygaid yn edrych arnaf wrth i mi fyned yn ochr y plismon drwy y dref, a buasai twrr o blant wedi ein canlyn oni bâi i'r plismon eu bygwth. Teimlwn fy wyneb yn llosgi fel tân, a chlywwn hwn a'r llall yn dywedyd,—

"Be mae hwn ene wedi 'neud, os gwn i?"

"Dim da, yn siwr i chi."

"Piti hefyd, mae golwg barchus arno."

"Dyna'r rhai gwaetha'n amal."

Cawn y credyd, gan ambell un yr awn heibio iddo, fod yn amlwg fy mod yn teimlo fy sefyllfa, ac felly yr oeddwn, yn sicr ddigon. Edrychwn

*Line.*

1. *Hoswch=arhoswch.*
5. *Gneud camgymeriad,* E., to make a mistake. This is common enough. But so is good Welsh like *methu.*
6. *Just a chrio=bron a chrio.*

dan fy nghuwch a welwn i neb yn y ffair oedd yn fy adnabod, ond yn ofer, a diau mai hynny a barodd i un, tebyg i fugail, ddywedyd wrth i mi ei basio,—

"Ci lladd defaid ydi o, yn siwr i chi."

Wel, cymerwyd fi i'r rowndws, ac nid oedd o ddiben yn y byd i mi brotestio, dywedyd fy hanes, gofyn am eglurhad, na dim arall; yr unig ateb a gawn oedd y cawn ddywedyd y cwbl wrth y *magistrate* fore drannoeth. Prynhawn tost oedd hwnnw; mi a'i cofiaf byth, ac ni chysgais yr un winc ar fy ngwely pren y noson honno, a meddyliwn weithiau mai breuddwyd oedd y cwbl. Heb i mi gwmpasu, dygwyd fi o flaen fy ngwell—yr unig dro yn fy mywyd. Nid oedd ond un *magistrate* ar y fainc, gan dybio mai *case* o *remand* a fuasai, yn ddiameu, a thybiwn ar ei olwg y cawn chware teg ganddo, ac, hwyrach, iawn am fy ngharcharu ar gam. Ebe fe,—

"Wel, John Jones, beth wnaeth i chi adael eich gwraig a'ch plant?"

"Nid John Jones ydi fy enw i, syr, a fu gen i 'rioed wraig, heb sôn am blant," ebe fi, a dechreuais ddywedyd pwy oeddwn, ac o ba le yr oeddwn yn dyfod, ond stopiwyd fi ar unwaith gan y *magistrate*. Ac ebe fe,—

"John, John, yr ydech chi wedi cledu mewn drygioni—yr ydym yn eich 'nabod yn rhy dda," a galwodd ar Mary Jones, a daeth gwraig dlawd yr olwg arni ymlaen, ac ebe'r *magistrate*,—

*Line.*

1. *Dan fy nghuwch*, slyly, with a frown.
5. *Ci lladd defaid*, a sneaking fellow, lit., a sheep-killing dog.
10. *magistrate*. The dialect word is *Ustus*, pl. *stusied*, from Justice.
16. *case* o *remand*. E., case of remand. *Taflu'r achos* is a common expression.

"Mary Jones, ai y dyn yna ydi'ch gŵr chi?"

"Ie, syr," ebe'r wraig, "ond y mae o wedi altro yn arw, a mae'n dda iawn gen i i weld o. Fu o 'rioed yn gâs wrtha i, a d'wn i ddim be nath iddo 'ngadel i a'r plant 'rwan er's peder blynedd. Gybeithio, Mr. Preis, na fyddwch chi ddim yn frwnt wrtho, achos yr ydw i'n siwr y daw o adre at i deulu 'rwan, oni ddowch chi, John bach?" A thorrodd y wraig i grïo.

Erbyn hyn, yr oeddwn yn credu yn sicr fy mod wedi fy witshio neu fy rhoi yn ffynnon Elian. Ebe'r *magistrate*,—

"Wel, John, mi ddylwn ych rhoi yn y *jail* am dri mis—dyna ddylech chi gael am adel ych teulu. Ond y mae'r plwy wedi cadw digon arnyn nhw, ac os ydech chi'n addo mynd adre, ac edrach ar ol ych gwraig a'ch plant, mi gewch fynd yn rhydd am y tro hwn. Os na newch chi addo gneud hynny, rhaid i mi roi tri mis i chi. Beth ydech chi'n i ddeyd, John?"

Meddyliais y munud hwnnw y gallwn ddianc wedi cael fy nhraed yn rhyddion, ac ebe fi,—

"Wel, mi wnaf fy ngore i neud fel yr ydech chi'n gofyn, syr."

"*Very good*," ebe'r *magistrate*, "ond gofalwch na ddowch chi ddim o 'mlaen i eto, ne nid fel hyn y bydd hi arnoch chi. Mae'n biti garw fod crefftwr da fel chi, John—un sydd yn dâd i blant, ac yn dwad o deulu parchus—wedi gneud sôn am danoch fel hyn. Bydded hyn yn wers am byth i chi, John. Mi ellwch fynd 'rwan."

*Line.*

11. *Wedi fy witshio,* had been bewitched. *Rheibio* is also used in this sense.

11. *Ffynnon Elian,* a well in Denbighshire, at which, in the early part of the nineteenth century, "Jac Ffynnon Elian," a famous magician, used to practise.

Yr oeddwn wedi fy syfrdanu. Daeth y wraig ataf i ysgwyd llaw, ac estynnais innau fy llaw iddi yn llipa ddigon. Yr oedd hi wedi crïo—o lawenydd, y mae'n debyg—nes oedd yn hanner dall. Tra yr oeddwn yn cerdded wrth ei hochr, heb wybod i ba le yr oeddwn yn mynd, na pha beth i'w wneud, edrychai y wraig arnaf bob chwarter munud, fel pe buasai yn ameu ei llygaid, a siaradai am gant o bethau na wyddwn i ddim am danynt. Dywedodd fwy nag unwaith fy mod wedi altro yn arw, ond fod yn dda ganddi fy ngweled mor drefnus. Soniai am y plant, a dywedai nad arni hi yr oedd yr holl fai pan euthum i ffwrdd, a chraffai ar fy wyneb drachefn a thrachefn. Ni ddywedais air wrthi mwy na mudan, ac yr oeddwn yn ofni dyrysu yn fy synhwyrau. Arweiniodd fi i ryw fuarth lle yr oedd amryw dai, ac yr oedd y cymydogion oll yn sefyll yn y drysau, ac yn gwenu arnaf, ac yn fy llongyfarch. Amlwg ydoedd fod i mi groeso i ddyfod yn ol. Ar hyd y ffordd torrai y wraig i grïo bob yn ail munud, ac yn wir yr oedd yn arw iawn gennyf drosti. Chwareuai y ddau fachgen gyda phlant ereill yn y buarth, a phan oeddym yn myned i'r tŷ, galwodd Mary Jones arnynt i ddyfod i weled eu tad. Daeth y plant i mewn, ond ni chymerais sylw o honynt—yr oedd yn gâs gennyf eu gweled, druain. Parodd hyn i Mary grïo drachefn, a dywedodd,—

"Pam na ddeydwch chi rwbeth wrth y plant, John, os ydech chi yn 'cau siarad â fi."

Ni ddeuai y plant yn agos ataf, drwy drugaredd. Sylwais fod y tŷ, er yn dlawd, yn hynod lân, ac wedi gorffen crïo, ebe Mary,—

---

*Line.*

21—22. *Yr oedd yn arw iawn gennyf drosti,* I was very sorry for her.

"Mi ellwch feddwl, John, 'y mod i'n dlawd; oes gynnoch chi brês i mi nol rhywbeth yn damed i chi?"

Rhoddais iddi ychydig sylltau, ac wedi iddi roi y tegell ar y tân, aeth allan, ac yn y munud dychwelodd a llond ei ffedog o bethau o'r siop. Wrth ei chwt daeth y dyn a welswn yn y dafarn i mewn. Cofleidiodd a chusanodd y plant, a'r un modd y wraig. Edrychodd Mary fel pe buasai wedi dyrysu. Ni fedraf ddesgrifio iti yr olygfa na fy llawenydd innau. Yr oedd y dyn wedi dyfod yn ol at ei deulu, ond pan welodd y plismon yn dyfod ar ei ol i'r dafarn, dihangodd. Ar ol deall fy mod i wedi fy nghymeryd yn ei le, a bod y Fainc wedi maddeu i mi ar yr amod fy mod i edrych ar ol fy nheulu, daeth John yn syth gartref. Yr oedd yn edifar iawn ganddo ei fod wedi gadael ei wraig a'i blant. Cawsom dê yn ddigon cyfforddus gyda'n gilydd, ac wedi tipyn o siarad, deallais mai Jac fy nghefnder ydoedd. Deuthum adref yn gynt na chynta gallwn i, ac ar hyd y ffordd, yr oeddwn yn edrych ar bawb rhag ofn i mi weled rhywun arall tebyg i mi. Pan ddywedais yr ystori wrth fy mam, ebe hi,—

"Ie, siwr, dyna nhw, 'does dim lwc i'w canlyn nhw."

*Line.*
10. *Wedi dyrysu*, gone mad.
14. *Y Fainc*, E., the Bench. W., *yr ustusiaid.*
20—21. *yn gynt na chynta gallwn i*, with great hurry, lit., faster than the fastest I could.

## Y DDAU FONNER.

DAU hen begor rhyfedd oedd William a Richard Bonner, ebe F'ewyrth Edward. Y mae gennyf gof gweddol am y ddau, ond nid digon da i roi desgrifiad o honynt. Brodorion oedd y ddau o Wern y Mynydd, ger yr Wyddgrug. Yr oedd William yn bregethwr, a Richard yn weinidog, nid anenwog, gyda'r Wesleyaid. Cydnabyddid Richard Bonner yn ddyn witi neilltuol, ac nid oedd William ei frawd yn ddiffygiol o'r ddawn honno. Hanner can mlynedd yn ol, yr oedd yn ffaith adnabyddus mai William Bonner a'r "Hen Wadan" oedd y ddau ddyn cryfaf yn y plwyf, os nad yn y sir. Cariodd yr "Hen Wadan" ddeg troedfedd *cubic* o dderw solet ar ei ysgŵydd, a chariodd William Bonner hanner tunnell o blwm Maes Hafn (a gŵyr pawb fod plwm Maes Hafn yn drymach na phlymiau ereill), mewn sâch ar ei gefn, a barnwyd y ddau Samson yn Eisteddfod Genedlaethol Gwern y Mynydd yn gyfartal, a rhannwyd y wobr. Yr oedd William Bonner, fel ei frawd Richard, yn bregethwr hynod o dderbyniol gyda'r brodyr y Wesleyaid, ac yn wir gyda phawb ereill. Gwyddost o'r goreu mai ychydig iawn a dderbyniai pregethwyr cynorthwyol y pryd hwnnw am eu gwasanaeth, ac y mae arnaf ofn na dderbyniant gymaint ag a haeddant yn ein dyddiau ni. Ond tybiai rhywrai yr adeg honno, fel y mae llawer yn meddwl yn awr, fod pregethu

*Line.*

1. *Y Ddau Fonner,* the Two Bonners. Note lenation after numerals.
8. *Witi,* E., witty. W., *ffraeth ;* colloq., *parod.*
11. *Ffaith adnabyddus,* E., well-known fact. W., *ffaith hysbys.*
12. "Hen Wadan," a nickname, "Old Flatfoot." *Gwadan*> *gwadn.* See "Epenthetic vowel."

yn talu yn gampus, a bod pobl y cadach gwyn yn gwneud eu ffortun.

"Faint wyt ti'n gael am y pregethu 'ma, Wil ?" ebe Shon, Pant Glas, wrth William Bonner un tro, ac ebe William,—

"Wel, yr ydw i'n disgwyl y goron, wyddost, Shon."

"Diar anwyl !" ebe Shon, "coron y bore, coron y p'nawn, a choron y nos, dene bymtheg swllt ? Pwy na fydde'n bregethwr !"

Ni ddarfu i William fyned i'r drafferth i egluro i Shon mai y goron ysbrydol a olygai. Yr oedd William Bonner yn un o'r rhai cyntaf i gymeryd yr ardystiad dirwestol tua'r flwyddyn 1834 neu '35, a mawr oedd ei sel fel ei frawd Richard. Un tro yr oedd i draddodi darlith ar ddirwest yng Ngwern y Mynydd, a Tomos Owen, Tŷ'r Capel, yr Wyddgrug, i fod yn gadeirydd iddo. Dyn od ryfeddol oedd y Tomos Owen yma, a bydd gennyf ystori i'w dywedyd i ti am dano ryw noswaith, pan gofiaf. Pregethwr Methadus oedd ef, a mab i Richard Owen, y Bala. Ond yr oedd Tomos Owen, er ei fod yn bregethwr ac yn ddyn duwiol iawn, fel pobl yn gyffredin y dyddiau hynny, braidd yn hoff o'i hanner peint, cyn i'r symudiad dirwestol gymeryd lle, ac er fod Tomos ym mhlith y rhai cyntaf i ardystio, credai rhywrai ei fod yn cymeryd dropyn ar y slei. Clywsai William Bonner y sibrwd am ei gyfaill, ac wrth ddechreu ei ddarlith ar ddirwest, wedi i'r cadeirydd, sef Tomos Owen, gyflwyno y darlithydd i'r cyfarfod, ebe fe,—

---

*Line.*

10. *Ni ddarfu i William fyned i'r drafferth*=*ni thrafferthodd.*

12—13. *Gymeryd yr ardystiad dirwestol,* E., to take the temperance pledge ; colloquially, *seinio dirwest.*

20. *Methadus*=Methodist.

25. *Gymeryd lle,* E., to take place. W., *cychwyn, dechreu.*

27. *Dropyn ar y slei,* E., a drop on the sly. W., *cymeryd diferyn yn ddistaw bach.*

"Gyfeillion, mae rhywrai yn taenu y stori yn y gymdogaeth yma fod ein cadeirydd parchus, Tomos Owen, a'i wraig Marged, yn yfed cwrw o bîg y tebot, ond celwydd y maen nhw'n i ddeyd yn chwilgorn-gafel-eu-gwddw, yntê, Tomos ?"

"Ie, 'neno dyn," ebe Tomos, "yfes i rioed ddyferyn o gwrw o bîg y tebot, na Marged chwaith," ac nid ychwanegwyd y *slander* ar Tomos a'i wraig.

Ond am Richard Bonner yr oeddwn yn meddwl son wrthyt heno, heblaw fy mod i yn ramblo. Clywais ef yn pregethu fwy nag unwaith, ond yr oeddwn yn rhy ieuanc i dderbyn unrhyw argraff, ond yn unig ei fod yn ddyn ysmala. Clywais hefyd yn ddilynnol ddegau o ystraeon digrif yn ei gylch, ond ar hyn o bryd nid oes ond dwy yn aros yn fy nghof. Y mae i'r Wesleyaid gapel a elwir Tafarn y Celyn, neu fel y seinir ef ar dafod gwlad, Tafarn Gelyn, mangre ar y ffordd o'r Wyddgrug i Lanarmon. Ar un adeg yr oedd hen wreigan ffyddlon a duwiol iawn, o'r enw Begws, yn aelod dichlynnaidd yng nghapel Tafarn Gelyn. Tlawd oedd ei hamgylchiadau, a derbyniai yr hen wreigan ychydig elusen blwyf. Ar hyd y blynyddau cadwai Begws fochyn, a phan ddeuai yn hyn a hyn o faint, gwerthai ef i dalu rhent ei bwthyn. Ond un tro,

---

*Line.*

4—5. *celwydd y maen nhw'n i ddeyd, yn chwilgorn-gafel-eu gwddw*=they lie hard in their throats. The derivation of *corn* is uncertain. It is used in such expressions as *yn feddw gorn, chwilgorn feddw*, dead drunk. *Chwil* is similarly used—*chwilboeth*, boiling hot. *Gafel-eu-gwddw*, *lit.*, clutch of their throats. A string of synonyms for emphasis.

8. *Slander.* W., *athrod, enllib.*

16. *Y mae i'r Wesleyaid*, the Wesleyans have. Note the idiom *y mae i'r*=there is to. The colloquial expression is *y mae gan* or *gen.*

20. *o'r enw*, E., of the name. W., *a'i henw.*

darfu i ryw ysgerbwd o ddyn ladrata mochyn Begws, yr hyn a fu yn brofedigaeth fawr iddi. Teimlai yr eglwys yn Nhafarn Gelyn yn dost dros yr hen wreigan yn wyneb ei cholled, a phenderfynasant, yn Gristionogol ddigon, wneud casgliad iddi yn yr oedfa nos Sabboth. Richard Bonner oedd i bregethu noswaith y casgliad, a gofynnodd y blaenoriaid iddo ddywedyd gair ar yr amgylchiad, oblegid yr oeddynt yn awyddus i ddigolledu yr hen Begws druan, ac ebe Bonner cyn i'r casglyddion fyned o gwmpas,—

"Wel, gyfeillion, yr yden ni i gyd yn nabod Begws—'does ganddi ddim yn spâr ag iddi gael llonydd gan chwiwladron, a mi wn y rhoiff pob un gymint ag a feder o yn y casgliad hwn, ond y dyn a ddygodd fochyn y grydures dlawd. Mi ellwch fod yn siwr na roiff y dyn a ddygodd y mochyn ddim dime ar y plât!"

Cyfrannodd pob enaid rhag iddo gael ei dybied yn euog o ladrata mochyn Begws, a chafodd yr hen wraig fwy nag a gollasai.

Yr oedd Richard Bonner yn ŵr cryf a chadarn, ac mi wyddost, pan fo gweinidog Wesleyaidd wedi teithio am nifer penodol o flynyddau yn y weinidogaeth, fod ganddo hawl i osod ei hun ar restr yr uwchrif, sef yw hynny, ymryddhau oddiwrth ofalon cylchdaith. Yr oedd yr hen Fonner wedi gwasanaethu yn ffyddlon am y cyfnod angenrheidiol, ac mewn cyfarfod taleithiol, gwnaeth gais am

*Line.*

**25.** *i osod ei hun.* This is common in dialect. So also is the more accurate form *i'w osod ei hun. Ei hun* cannot be the object of the verb. *Fod ganddo hawl i osod ei hun*=that he himself has a right to place. *Fod ganddo hawl i'w osod ei hun*—that he has a right to place himself.

**26.** *Uwchrif.* Supernumerary. An amazing bungle, not due to the author. The term is official.

gael ei ystyried yn uwchrif. Nid oedd y frawdoliaeth yn gweled ei ffordd yn glir i ganiatau hyn, am y rheswm nad oedd ganddynt neb ar y pryd mewn golwg i gymeryd ei le, neu rywbeth arall, ac ebe llywydd y dalaeth, fel rhagymadrodd i berswadio Mr. Bonner i alw ei gais yn ol,—

"Wel, Mr. Bonner bach, mi wyddom oll fod gennych hawl i ofyn am gael eich gwneud yn *supernumerary*, ond yr ydych, hyd yn hyn, yn gryf, nid ydych yn pesychu, ac yr ydych yn pregethu yn dda———"

Ni chafodd y llywydd fyned ddim pellach cyn i'r hen ŵr pert gyfodi ar ei draed, ac ebe fe,—

"O diar, os eisie pesychu sydd, mi fedra i besychu cystal a'r un o honoch chi, ond os ydech chi am aros nes i mi bregethu yn sal, mi fyddaf am byth heb gael 'y ngwneud yn *supernumerary*."

Nid wyf yn cofio sut y terfynodd gyda golwg ar gais Mr. Bonner, ond dyna ddigon i ti i ddangos pertrwydd y dyn a'i *wit* parod. Os nad oes bywgraffiad wedi ei wneud i Richard Bonner, y mae yna waith difyr a buddiol yn aros rhywun.

---

## HET JAC JONES.

MI GLYWAIST lawer gwaith fod gan y meddwl gryn lawer i'w wneud âg iechyd neu afiechyd y corff, ac y mae hynny yn ddigon gwir. Dyma hanes i ti sy cyn wired â'r pader.

Wedi i mi dyfu i fyny'n llanc, yr oeddwn wedi glân laru ar weithio ar y ffarm—yr oedd yn fywyd rhy lonydd i mi. Yr oeddwn wedi clywed fod cyflog da i lanciau yn ffactri gotwm yr Wyddgrug,

---

*Line.*
20—21. *Y mae yna*, E., there is. W., *y mae gwaith, &c.*
27—28. *Wedi glan laru ar*, had become thoroughly disgusted with.

a ffwrdd a fi yno i edrych am waith. Cyflogais yn union fel rhyw fath o wâs i'r *spinners*, ac yr oeddwn yn bur ddedwydd fy lle. Yr oedd yno lanc arall tua'r un oed â mi yn yr un swydd—bachgen wedi colli un llygad, ond yn gweled gyda'i un fwy nag a welai bechgyn yn gyffredin gyda'u dau lygad. William James oedd ei enw, a bachgen direidus dros ben ydoedd, a daeth ef a minnau yn ffrindiau mawr yn fuan. Byddai William a minnau yn gyfrannog mewn rhyw driciau ar y *spinners* yn feunyddiol. Ond yr oedd yn ddealledig rhwng Wil a minnau ein bod i gymeryd y bai bob yn ail. Os myfi a gyhuddid o wneud y cast, cymerai Wil James y bai, ac felly y gwnawn innau pan gyhuddid yntau. Felly, byddem yn arbed un cerydd, a rhai garw am geryddu oedd y *spinners*. Giaffer y *spinning-room* oedd Thomas Burgess, un o'r dynion bryntaf a mwyaf amhoblogaidd gyda'r gweithwyr a welais erioed. Ond yr oedd Burgess yn hynod o hoff o gellwair a gwneud mân driciau gyda'r dynion oedd dan ei ofal, ac felly nid oedd Wil James a minnau yn isel iawn yn ei ffafr.

Yr oeddwn wedi darllen yn rhywle fod yn bosibl perswadio dyn iach i fod yn sal, a dyn sal i fod yn iach, os na byddai ei salwch yn un tost iawn. Un awr ginio, soniais am hyn wrth Thomas Burgess, ac ebe fe,—

"Mae'n reit hawdd treio'r peth, by-dae ti a Wil James yn rhoi'ch penne ynghyd sut i *experimentio* ar un o'r *chaps* yma. Os na feder Wil

*Line.*

2. *spinners.* W., *nyddwyr.*

10. *triciau,* E., tricks, W., *castiau.*

12—13. *Bob yn ail,* in turns.

ddyfeisio rhwbeth yn y ffor' yna, lle sal i ti a finne dreio, achos cwtrin o fachgen ydi Wil."

Syniai Wil yn gyffelyb am Burgess, mai cwtrin oedd yntau.

"Wyst ti be," ebe Wil wrthyf un diwrnod, "mi liciwn farw yr un funud a'r hen Burgess yma."

"Pam hynny ? " ebe fi.

"Am fod ganddo gymin i'w aped am dano," ebe Wil, "a thra bydden nhw yn trin i gês o, mi fedrwn snecio i'r nefoedd heb i neb sylwi."

Pa fodd bynnag, soniais wrth Wil am awgrymiad Thomas Burgess, a chyn nos, yr oedd cynllun Wil yn barod. Yr oedd un o'r *spinners*, Jac Jones wrth ei enw, bob amser yn gwisgo *top hat*, ac yn ei gosod ar hoel tuallan i'r *spinning-room*. Cynllun Wil oedd rhwymo llinyn du main o gwmpas gwaelod yr het, wrth y cantel, a'i thynnu i mewn chwarter modfedd—ac y mae chwarter modfedd, ti wyddost, yn ddau *size* mewn het—ac wedyn perswadio Jac Jones fod ei ben wedi chŵyddo. Yr oedd y cynllun wrth fodd yr hen Burgess. Fore drannoeth, cyn gynted ar yr aeth Jac Jones at ei waith, rhwymodd Wil y llinyn am yr het yn reit nêt, ac, yn ol y cynllun, eis innau i'r *spinning-room*, a dywedais wrth Jac,—"John Jones, ydech chi ddim yn iach heddiw ? "

"Ydw, machgen i, pam roeddet ti'n gofyn ? "

*Line.*

1. *Lle sal*, a poor chance, lit., a poor place.
6. *Yr un funud. Munud* is generally masc. Lenation seems to prevail in adverbial expressions.
6. *Yr hen Burgess ; Hen* lenates, but the author is inconsistent. Cf., *Yr Hen Fonner.*
10. *Trin i ges o*, dealing with his case. W., *trin ei achos.*
15. *Top hat*, colloquially, *het silc.*
20. *Size.* W., *maint.*
25. *reit nêt*, E., quite neatly. W., *yn daclus ddigon.*

" O dim," ebe fi, " ond 'y mod i'n meddwl fod gynnoch chi dipyn o chŵydd yn ych arleisie."

" Nag oes, 'neno dyn, yr ydw i'n cael iechyd campus, diolch am dano," ebe Jac.

Oddeutu saith o'r gloch, aeth Wil ato, a dywedodd,—

" John Jones, 'dydech chi ddim yn edrach 'run fath ag arfer fore heddiw ; oes gynnoch chi boen yn ych pen ? "

" Nag oes, 'neno diar ; ond oedd Ned yn gofyn yr un peth gynne ; be nath i ti feddwl ? "

" Wn i ddim," ebe Wil, " ond y mae rhwbeth yn edrach yn od yn ych pen chi, fel by-dae chi wedi cael dyrnod un ochor. Gadewch i mi weld yr ochor arall. Na, mae'r ddwy ochor 'run fath ; y fi ddaru ffansïo, ddyliwn," ag i ffwrdd a Wil at ei waith.

Ryw bum munud cyn amser brecwest, aeth yr hen Burgess ato, a dywedodd,—

" Dyma ti, Jac, fuost ti mewn rhyw sgarmes neithiwr ? Rwyt ti wedi bod yn slotian efo'r hen ddiod eto, achos mae dy ben di fel meipen gron ; ne wyt ti wedi cael clefyd y penne sydd o gwmpas rwan ? "

" Phrofes i ddyferyn ers wsnos, a mae mhen i gystal a phen yr un o honoch chi," ebe Jac yn gwta.

" Gobeithio dy fod yn deyd y gwir," ebe Burgess, ac ymaith ag ef.

Pan oedd Jac yn mynd i'w frecwest, ac yn ceisio rhoi ei het am ei ben, ni fedrai yn ei fyw. Edrychodd ai nid oedd wedi cymeryd het rhyw-un arall, ond cofiodd nad oedd neb yn gwisgo

---

*Line.*

25. *Phrofes.* The negative is omitted.

*top hat* ond efe, ac yr oedd ei enw, yr hwn yr oedd wedi ei ysgrifennu â'i law ei hun, y tu mewn iddi. Cafodd fenthyg cap i fynd i'w frecwest, a chariai yr het yn ei law. Ni ddaeth Jac Jones at ei waith ar ol brecwest. Ganol dydd, galwodd Burgess i edrych am dano, a chafodd ef yn ei wely, yn dioddef gan boenau mawr yn ei ben. Dywedodd Burgess wrth Jac mai y clefyd yn ddiau ydoedd, ond fod meddyginiaeth wedi ei darganfod i'w wella ar unwaith, ac y deuai â'r cyffyr iddo y prynhawn hwnnw, wedi i'r felin stopio. Aeth Burgess a minnau i edrych am Jac y noson honno, a chymerasom dipyn o *sweet oil* mewn potel gyda ni. Tra yr oedd Burgess a gwraig Jac yn y llofft, yn cymhwyso y *sweet oil* at ei ben, yr oeddwn innau yn y gegin yn tynnu'r llinyn oddiam yr het; ac er mwyn dangos mor effeithiol oedd y feddyginiaeth, anfonodd Burgess y wraig i nol yr het, a gallodd Jac ei rhoi am ei ben yn hwylus. Yn wir, gan gymaint o'r *sweet oil* oedd ar ei ben, llithrai yr het braidd yn rhy esmwyth, a da oedd fod gan Jac glustiau go fawr i'w hatal rhag iddi fyned dros ei wyneb. Ond rhyfedd, ni ddarfu'r poenau yn union deg, er i'r chŵydd gilio ar unwaith, a bu Jac Jones ar y clwb am wythnos cyn ail ddechreu gweithio. Ni chafodd wybod am y cast am dair wythnos, ac ni faddeuodd byth i ni.

Dyma ystori arall i ti, digon tebyg, ebe fy Ewyrth Edward, ond caf adrodd honno eto, hwyrach.

---

*Line.*

1—2. *Yr hwn yr oedd wedi ei ysgrifennu.* Read, "*a ysgrifenasai.*" See Note, p. 1. l. 17.

25. *ar y clwb,* receiving sick benefit from a friendly society. Lit., on the club.

## EDWARD CWM TYDI.

FEL *partner* i ystori Jac Jones a'i het, dyma i ti ystori arall sydd yn dangos mor hawdd ydyw gwella ambell ddyn o afiechyd trwm, ac mae'r hanes yn wir bob gair—yr oeddwn yn adnabod y bobl, ac y mae ereill yn fyw yrwan oedd yn eu hadwaen. Yr hyn a wnaeth i mi gofio yr hanes oedd clywed am y Seqwa yna sydd yn myned o gwmpas y wlad i wella pobl o'r gymalwst (*rheumatism*) mewn ychydig funudau drwy eu rhwbio. Oddeutu trigain mlynedd yn ol, yr oedd yn byw mewn tyddyn o'r enw Cwm Tydi, yn agos i Langollen, frawd a chwaer, sef hen lanc ifanc a hen ferch ifanc, o'r enwau Edward ac Ann. Yn y dyddiau hynny, byddai pobl yn cael eu hadnabod wrth y lle y byddent yn byw ynddo, neu wrth y gelfyddyd y byddent yn ei dilyn. Er fy mod yn adnabod y brawd a'r chwaer yn dda, ni wyddwn mo'u henwau ond fel Edward ac Ann Cwm Tydi. Yr oedd yr hen lanc a'r hen ferch mewn tipyn o oed. Dyn mawr, cryf, iach, oedd Edward, ond lled wannaidd oedd ei chwaer Ann.

Ryw dro, cymerwyd Edward yn sâl iawn gan y gymalwst, fel na fedrai brin symud yn ei wely, na goddef i neb gyffwrdd âg ef, ac yr oedd mewn poenau dirfawr, a gyrrwyd ar ffrwst i Langollen am Doctor Morris. Dyn byrr, cryno, oedd y Doctor, ac wedi clywed am afiechyd Edward, daeth i Gwm

*Line.*

1. *partner*. *Cymhares*, more generally used in this sense.
5. *yrwan > rawran = yr awr hon*, this hour, now.
6. *eu hadwaen*. Read, *Eu hadnabod*. *Adwaen*, 1st sing. pres. indic.
8. *gymalwst* (*rheumatism*), that is, in lit., and spoken Welsh, *cryd cymalau*, *cryd cymale*.

12–13. *Hen lanc ifanc a hen ferch ifanc*, a bachelor and a spinster.

14. *yn cael eu hadnabod*. A typical instance of the use of *cael* to form the passive.

Tydi yn ddi-ym-droi, a dywedodd y gwnai anfon potelaid o ffisig i'r claf. Yr oedd i'r Doctor Morris wâs o'r enw Wil, bachgen o Landysilio, yr hwn a ofalai am ei geffylau, ac a fyddai weithiau yn helpio'r Doctor i wneud y ffisig i fyny. Ni chlywais enw erioed ar y bachgen hwn ond Wil, gwâs y Doctor. Cymro glân ac ysmala oedd Wil, ac yr wyf yn ei gofio yn dda. Wedi i'r Doctor wneud y botel i fyny, dywedodd wrth Wil am ysgrifennu arni y byddai raid ei hysgwyd yn dda cyn rhoi y ffisig i'r claf. Ysgrifennodd Wil,—"*He must be well shaken before taken*," gan roddi *he* yn lle *it*. Pa un ai o ddireidi ai o anwybodaeth y gwnaeth efe hyn, nis gwn.

Pan gyrhaeddodd y botel i Gwm Tydi, ni fedrai nag Ann nag Edward ddeall gair o'r ysgrifen, oblegid ni chawsent awr o ysgol yn eu bywyd. Yr oedd yng Nghwm Tydi wâs o'r enw Abram, yr hwn a gawsai ychydig o ddysg, a galwyd ef i ystafell y claf "i ddarllen y botel," er mwyn gwybod pa sut yr oedd y ffisig i'w gymeryd. Dywedodd Abram wrth Ann,—

"Rhaid i ni i ysgwyd o yn dda cyn rhoi'r ffisig iddo."

"I ysgwyd o ?" ebe Ann.

---

*Line.*

1. *y gwnai anfon=yr anfonai.*

3—4. *Yr hwn a ofalai.* Read, *a ofalai.*

5. *wneud y ffisig i fyny*, E., make *up* the physic. W., *wneud y ffisig.*

11—12. "He must be well shaken before taken." A version of this story is to be found in "The Newcastle Apothecary," by G. Colman, a ballad included in a book entitled "Monstrous Good Songs, Sentiments and Toasts, or a Cure for heart ache. 1798. London : Printed for R. Rusted."

19. *Yr hwn a gawsai.* Read, a *gawsai.*

"Ie," ebe Abram, "dyma fo'n deyd ar y botel,—*He must be well shaken before taken*."

"Fedra i mo'i ysgwyd o, rydw i yn rhy wan," ebe Ann.

"Mae'n rhaid gneud hynny, achos mae'r botel yn deyd," ebe Abram, ac ochneidiai Edward yn ei wely.

"Wel," ebe Ann, "gan fod y Doctor yn deyd fod yn *rhaid*, 'does dim ond gneud hynny."

Taflwyd y dillad oddiar Edward, ac aeth Abram un ochr i'r gwely ac Ann yr ochr arall, ac ysgwyd Edward a wnaethant yn *dda*, nes oeddynt yn chwŷs dyferol, ac Edward yn gweiddi wchw mawr a mwrdwr. Collodd Edward ei lais wrth weiddi mor galed, a thybiodd Ann ac Abram ei fod ar fin marw. Eisteddodd y ddau i lawr, yn fyrr eu gwynt, i aros a ddeuai Edward ato ei hun. Yn y man, ebe Edward,—

"Abram, bob byr faint y mae'r botel yn deyd y rhaid fy ysgwyd i ?"

"Dair gwaith yn dydd," ebe Abram.

"Ho," ebe Edward, "dim chwaneg o'r drefn yna i mi," a chododd yn araf deg a gwisgodd am dano, a theimlai yn lled dda.

Drannoeth, daeth Doctor Morris i Gwm Tydi, a chyfarfuwyd ef ar ben y buarth gan Ann.

"Sut mae Edward heddiw, Ann ?" ebe'r Doctor.

"Wel," ebe Ann, "dydw i ddim yn meddwl y gnath y ffisig fawr o les iddo, ond mi ddaru'r ysgwyd neud daioni mawr iddo. Mi 'sgydwodd Abram a finne fo yn gore glas cyn rhoi'r ffisig iddo, fel yr

*Line.*
13—14. *Gweiddi wchw mawr a mwrdwr*, making a great outcry.
15. *Mor galed*, E., so hard. W., *mor groch*.
19. *Bob byr faint*, how often ; *byr faint* from *pyr* or *para*, and *maint*. See p. 1, l. 11.
31. *Yn gore glas=ein goreu glas*, our very best.

oedd y botel yn deyd, a thoc mi gododd ac mi wisgodd am dano heb help, ac erbyn heddyw mae o reit sionc."

Gwelodd Doctor Morris y camgymeriad, ac ebe fe,—

"Yr achos i mi roi gorchymyn i'w ysgwyd o yn dda oedd, er mwyn i'r ffisig sefyll efo fo," ac aeth ymaith dan wasgu ei ochrau.

Bu Abram, wedi hyn, yn was gyda fy nhad, ac mi gwelais ef yn bwyta llond gogr o winwyn oerion, ond ystori arall ydyw honno, ebe fy Ewyrth Edward.

---

## ENOC EVANS, Y BALA.

OES, y mae gennyf gof gweddol am Enoc Evans, y Bala, ebe F'ewyrth Edward. Ni ddarfu i Enoc a minnau ddim ei hitio hi yn dda iawn,— yr oedd ef wedi dyfod i'r byd dipyn yn rhy fuan, a minnau dipyn yn rhy hwyr, ac felly ni ffurfiwyd fawr o gwentans rhyngom. Ond clywais lawer o son am Enoc fel un oedd yn ddarllenwr di-ail, ac yn hoff iawn o adar. Nid oedd neb yn ei bwyll yn dyfod yn hwyr i'r oedfa pan fyddai Enoc i bregethu, oblegid ei glywed yn darllen y bennod oedd y trêt. Nid oedd, fel y clywais ddynion o farn yn dywedyd, yn rhyw helynt o bregethwr. Yn y dyddiau hyn, *Castle Street*,

---

*Line.*

14—15. *ni ddarfu i Enoc a minnau ddim ei hitio hi yn dda iawn*, "Enoc and I did not hit it off very well."

18. *fawr o gwentans*, not much acquaintance. W., *cydnabyddiaeth*. "Cwentans" as used in the dialect has generally a derisive meaning which would not seem to be intended here.

23—25. *nid . . . . . . yn rhyw helynt o bregethwr*, not much of a preacher.

yn yr Wyddgrug, ydyw yr ystryd iselaf a butraf yn y dref. Nid wyf yn meddwl fod ac na fu i un tŷ ddrws cefn, gydag un eithriad, ac y mae y nifer mwyaf o'r tai erbyn hyn wedi eu datgan yn anghymwys i neb drigo ynddynt. Ond y mae i'r hen ystryd hanes cysegredig iawn. Pe gallasai *Castle Street* adrodd ei hanes ei hun, buasai ganddi lawer iawn i'w ddywedyd, a hwnnw o ddyddordeb neilltuol. Yn y tŷ cyntaf ar y llaw dde y trigai yr hen Angel Jones, y blaenor enwog y canodd Glan Alun farwnad gampus iddo. Yn y caban hwn y magodd Angel deulu mawr, ac y gwnaeth fusnes anferth fel teiliwr. Nid oes i'r tŷ ond dwy ystafell wely, ac un fechan fach arall ar ben y grisiau, ac eto, mor ryfedd ydyw meddwl, hwn oedd prif gartref rhai o brif enwogion y pulpud Cymreig am lawer o flynyddoedd yn eu hymweliadau â'r dref. Yn y tŷ bychan distadl hwn y cysgodd Eben a Thomas Richards, William Havard, Roberts, Amlwch; John Elias, y ddau Jones o Lanllyfni, Henry Rees, a llu ereill, pan ddeuent i'r Wyddgrug i bregethu, ac yn eu plith Enoc Evans, y Bala.

---

*Line.*

1. *Iselaf—isaf.* The degrees are *isel, is, isaf,* but *isel, islach, isla* are occasionally heard.

2—3. *nid wyf yn meddwl fod ac na fu i un ty ddrws cefn, &c.* An attempt at putting municipal English into Welsh. Read, "*Nid wyf yn meddwl fod yno, nag y bu yno ychwaith, fwy nag un ty ag iddo ddrws cefn, ac erbyn hyn y mae'r rhan fwyaf o'r tai wedi eu condemnio fel rhai, &c.*"

11. *Glan Alun,* a bard of Mold.

18—22. *Eben a Thomas Richards, William Havard,* [*William*] *Roberts, Amlwch; John Elias, y ddau Jones o Lanllyfni,* [John Jones, Tal Sarn, and his brother, David Jones, Treborth], *Henry Rees.* Celebrated preachers of the nineteenth century. "Eben" is probably the author's MS. contraction, followed by the printer. This famous preacher was always known as Ebenezer Richards.

Yn nhop *Castle Street*, trigai cymeriad rhyfedd—yr wyt yn ei gofio yn dda—o'r enw William Jones, teiliwr fyth. Wrth yr enw Cwil yr adnabyddid ef yn gyffredin. Dyn byrr, gorsyth ydoedd, bob amser yn gwisgo *dress coat* a *top hat*. Nid oedd Cwil na Chymro na Sais, ond yr oedd ganddo grap ar y ddwy iaith. Egwan iawn oedd ei alluoedd meddyliol, a bu am dri mis ar ol tyfu i fyny yn ceisio dysgu y pader, ac yn y diwedd bu raid iddo " roi yr ymdrech heibio fel *bad job*." Dau beth a hoffai Cwil yn fwy na dim arall, sef cwrw ac adar. Byddai yn cael term hir weithiau, a chlywais ef yn dywedyd ei fod wedi colli tri diwrnod o'i oes na wyddai ddim am danynt. Yr oedd Cwil wedi cael wythnos o spri, a chysgodd o nos Sadwrn hyd fore Mercher heb ddeffro.

Yr oedd Cwil bob nos Sadwrn o'r flwyddyn ar ol cael ei gyflog, ac ymolchi a shafio, yn mynd at ei ddiod i'r Talbot, ac yn yfed mor drwm fel na wyddai ddim wrth adael y dafarn ond mai " troi ar y dde " oedd y ffordd gartref. Ond un Sadwrn, perswadiwyd ef gan gyfaill i fynd i'r " Eagle and Child," yr ochr arall i'r heol. Wrth gychwyn gartref y noson honno, cofiodd Cwil am y rheol ddieithriad o " droi ar y dde," a chafodd ei hun fore Sul wrth Bentre Hobin, ar ffordd Wrexham, yn gorwedd ym môn y clawdd, ac yn methu dirnad pa fodd y bu iddo fethu yn ei *land-marks*. Ond fel y dywedais, yr oedd Cwil yn hoff iawn o adar—

*Line.*

1. *yn nhop.* W., *ym mhen uchaf.*
3. *Cwil.* Probably a nickname. E., quill.
7—8. *alluoedd meddyliol.* E., mental abilities. W., *ei feddwl.*
9—10. "*roi yr ymdrech heibio fel bad job.*" Suggestive of Cwil's attainments. W., *roi'r goreu iddi,* or colloquially, *roi ei ffidl yn y to.*
12. *term,* spree.
28. *fethu yn ei land-marks.* W., *golli ei ffordd,* or *fynd ar ddisberod.*

yn fwy felly na chwrw. Un tro, pan oedd Enoc Evans yn pregethu yn yr Wyddgrug, digwyddodd i'r hen Angel sôn wrtho am adar Cwil Jones. Aeth Enoc yno ar ei union, a bu Cwil ag yntau yn siarad am adar hyd hanner y nos, a buasent wedi parhau hyd y bore oni buasai i Angel fynd i nol ei *lodger*.

Ar ol hyn, gofynnai Cwil yn feunyddiol i Angel,—"Hengel, pryd mae y *bird merchant* yn dwad yma i pygethu eto?" A phan ddeuai Enoc Evans ar draws gwlad i'r Wyddgrug, y peth cyntaf a wnai, cyn cael tamaid o fwyd, a fyddai ymweled â Cwil, ac ymgomio am yr adar, a llawer tro, buasai Enoc wedi anghofio ei ymborth a'r oedfa a'r cwbl yng nghwmni Cwil, oni bai fod Angel yn ymyl. Un tro yr oedd Enoc Evans wedi cymeryd ffansi anghyffredin at *canary* oedd ym meddiant Cwil,—yr oedd yn dotio ato fel cantwr, ac eisteddodd yr hen begor i wrando arno am oriau. Y waith gyntaf y daeth Enoc i'r Wyddgrug wedyn—ar ol rhoi ei geffyl i fyny yn y "Black Boy," aeth yn syth i edrych am Cwil Jones, ac wedi llygadu o gwmpas y tŷ, ebe fe,—

"Lle mae'r *canary* campus hwnnw wedi mynd, William Jones?"

"Mae'r cath wedi lladd o, Mistar Hifans," ebe Cwil.

"Ych cath chi oedd y syrffed, William?" gofynnai Enoc.

"Dim perig," ebe Cwil, "mi lladdwn pob cath yn y byd, 'dawn i'n medrud."

*Line.*

1. *na chwrw*=*nag o gwrw.*
9. *pygethu.* See Glossary. Note also that Cwil neglects the initial mutations throughout.
20. *rhoi ei geffyl i fyny*, E., put up his horse. W., *rhoi ei geffyl i mewn.*
25. *Mae'r cath wedi lladd o*=*mae'r gath wedi 'i ladd o.*
29. *Mi lladdwn pob*=*mi a laddwn bob.*

"Mi nawn inne'ch helpio chi, William," ebe'r hen bregethwr.

"Mae'n da gen i'ch clywed chi'n deyd, Mistar Hifans," ebe Cwil, ac ychwanegodd gydag ochenaid, —"Do, mi ddaru cath John Bowen i ladd o, a faswn i ddim yn cymyd 'y mhwyse o aur am y 'deryn hwnnw, Mistar Hifans. A mi deyda i chi be neis i â fo, syr,—y cath, gwyddoch,—mi dalies o ar dydd Sadwrn pan odd o'n dwad i'r tŷ i edrych am 'deryn arall, a mi rhois o mewn bocs a clo arno, a bore Sul mi lodies fy pibell a mi cymes stôl i'r gardd, a mi noles y cath a mi croges o yn y pren fale, a mi steddes ar y stôl i cymyd mygyn i edrach arno fo'n marw, a mi ces fy *revenge.*"

"A syrfio'r slwt yn reit," ebe Enoc yn selog, ac ychwanegodd,—"Mi welaf, William, fod gynnoch chi adar bach yma ?"

"Hoes, Mistar Hifans," ebe Cwil, "ond gwelsoch chi rioed ffasiwn trafferth ces i i cael nhw. Mi treies un giar efo ceiliog ene am wsnose, a nae'r dau dim byd â'u gilydd; ond mi rois giar arall

*Line.*

3. *Mae'n da=mae'n dda.*
7. *mi deyda=mi ddeyda.*
8. *Y cath, gwyddoch=y gath, wyddoch.*
8—9. *ar dydd Sadwrn=ar ddydd Sadwrn.*
10—11. *a clo arno=a chlo arno ; fy pibell=fy mhibell ; mi cymes=mi gymres.*
12. *i'r gardd=i'r ardd.*
13. *i cymyd=i gymryd.*
14. *mi ces=mi ges.*
15. *A syrfio'r slwt yn reit.* The more idiomatic, *Ag eitha gwaith a'r slwt* is equally common.
18—19. *Hoes=oes ; ond gwelsoch=ond* [*ni*] *welsoch.*
19. *ffasiwn trafferth ces i i cael nhw=ffasiwn drafferth* [*a*] *ges i i* ['*w*] *cael nhw.*
19—20. *mi treies un giar efo ceiliog=mi dreies un iar efo* ['*r*] *ceiliog.*
20—21. *a nae'r dau dim byd=a*[*c ni w*]*nae'r ddau ddim ; rois giar=rois iar.*

efo'r ceiliog, a mi ces adar bach toc, a ma hynny yn ddigon o *profedigeth* ma nid ar y ceiliog rodd y bai."

" Diar anwyl galon ! " ebe Enoc.

" Enoc Evans, mae hi'n amser mynd i'r capel," ebe Angel yn y drws ; a thorrwyd ar seiat y ddau hen gono.

Nid cynt yr oedd yr oedfa drosodd nag y brasgamodd Enoc o flaen Angel i'r *Castle Street.* Pan ddaeth Angel i'r tŷ, cafodd fod Nansi wedi gwneud y swper yn barod, ond nid oedd dim sôn am Enoc Evans. Dyfalodd Angel ym mha le yr oedd yr hen bregethwr, ac ymaith ag ef i dŷ Cwil Jones, a chafodd y ddau drachefn mewn dîp disgwrs am yr adar.

" William Jones," meddai Enoc, " beth ydi'r achos nad ydech chi ddim yn cadw dim ond y *canaries* a'r nicos yma ? Ydech chi ddim yn hoff o adar erill ? "

" Hydw, Mistar Hifans," ebe Cwil, " yr ydw i'n hoff o pob sort o hadar. Ond mi gwelwch bod y tŷ dipyn yn bwchan, a mae 'deryn pranweth a 'deryn du isio *cage* mawr, a mae nhw tipyn yn budron. Ond faswn i dim yn hidio am hynny dase

*Line.*

1. *mi ces=mi ges.*

2. *o profedigeth=o brofedigaeth.* An interesting attempt of Cwil to form a noun from the verb-noun *profi. Profedigaeth* has acquired the meaning of bereavement. Proof is *praw,* also written *prawf.*

14. *dîp disgwrs,* E., deep discourse. *Ysgwrs fawr* is a much more common expression.

20. *o pob=o bob ; mi gwelwch=mi welwch.*

21. *yn bwchan=yn fychan ; 'deryn pranweth=aderyn bronfraith. Bronweth* is the dialect form.

22 cage, spoken *caets.* W., *cawell.*

22—23. *mae nhw tipyn yn budron=mae nhw dipyn yn fudron ; faswn i dim=faswn i ddim.*

gen i lle iddyn nhw, Mistar Hifans. A mi deyda i chi peth arall, ma Hangel yn gwbod cystal a minne, roddwn i'n ffond sobor o *lark*, a rodd gen i un unweth na weles i rioed i sort o. Fi daru fagu o, a rodd o'n cantwr na chlywes i rioed i bath o. A rodd o mor dof fel roddwn i yn i cymyd o weithie i'r siop weithio, ma Hangel yn gwbod. Wel un tro mi cymes o i'r siop weithio, a rodd yno dyn, i enw fo odd George Roberts, rodd o'n canu yn 'r eglwys—y cantwr bâs gore clywsoch chi rioed,—ond dodd gynno fo dim parch i 'deryn da. Wel, mi cymes y 'deryn i'r siop, ydw i'n deud wrthoch chi, Mistar Hifans, a rol i mi fynd ar y bwrdd, mi dalies y *lark* ar cleder fy llaw—rodd o mor dof—a mi deydes, " Dene ti, George, 'deryn na welest ti rioed i sort o." A be daru George neud, heb i mi meddwl, mi cymodd labwt a mi tarodd fi tan fy penelin, a mi ês i llysmer. Pan dois i ata fy hun, mi ofynnes, ' Lle ma *lark* fi, George ?' a mi gweles

*Line.*

1. *gen i lle=gen i le ; mi deyda=mi ddeyda.*
2. *i chi peth=i chi beth.*
3. lark. W., *ehedydd.*
4. *Fi daru fagu=Fi ddaru 'i fagu.*
5. *rodd o'n cantwr=roedd o'n gantwr ; i bath='i fath.*
6. *mor dof=mor ddof ; i cymyd='i gymryd.*
8. *rodd yno dyn=roedd yno ddyn.*
10. *gore clywsoch=gore* [*a*] *glywsoch.*
11. *gynno fo dim=gynno fo ddim ; i 'deryn=i dderyn.* In spoken Welsh, the *a* in *aderyn* is omitted, and the *d* treated as radical and mutated.
12. *mi cymes=mi gymres.*
13—14. *mi dalies=mi ddalies ; ar cleder=ar gleder ; mor dof=mor ddof.*
15. *mi deydes=mi ddeydes.*
16. *be daru=be ddaru.*
17. *meddwl=feddwl ; mi cymodd=mi gymrodd.*
17—18. *fy penelin=fy mhenelin ; i llysmer=i lesmer ; pan dois=pan ddois.*
19. *mi gweles=mi weles.*

fy *lark* wedi marw ar y bwrdd. Ar ol hynny, mi cymes syrffed at cadw *lark*."

"Wel, y dyn anuwiol a dideimlad," ebe Enoc. "Be ddaru chi——— ?"

"Enoc Evans, mae'n bryd i chi ddwad i'r tŷ ers mityn," ebe Angel.

Mi fum yn aros am dipyn yn y Bala, ebe F'ewyrth Edward, ac yn ystod yr amser hwnnw mi adwaenais ddau fab i Enoc Evans. Saer maen oedd un, a Dafydd oedd ei enw, os wyf yn cofio yn dda. Y pryd hwnnw yr oedd yn adeg isel ar grefydd, a'r gwaith yn slac. Er mwyn cael ychwaneg o waith, gadawodd Dafydd grefydd ac aeth i'r Eglwys. Ond yn y man, ymwelodd diwyg-iad crefyddol â thref y Bala, ac yr oedd yn amser hyfryd ar y cyfeillion yn yr hen gapel. Un noson seiat, pan oedd y diwygiad yn ei wres, daeth Dafydd yn ol i'w hen gartref, ac aeth Doctor Lewis Edwards i ymddiddan âg ef. Yr oedd yr ymgom, mor agos ag y gallaf gofio, fel hyn,—

"Wel, Dafydd Evans, beth a wnaeth i chwi droi yn ol ?" gofynnai y Doctor.

"Ffilio bod yn gyfforddus adeg y diwygiad yma yn yr hen Eglwys ene," ebe Dafydd.

"Y mae pobl dda iawn yn yr Eglwys," ebe'r Doctor.

"Oes," ebe Dafydd, "rhai da iawn am edrach ar ol y corffyn, yn ych curo chi yma yn arw am hynny. 'Roeddwn i'n cael mwy o waith o lawer yn yr Eglwys na phan oeddwn i'n arfer dwad

*Line.*

1—2. *mi cymes=mi gymres.* *at cadw=at gadw.*

9. *Adwaenais, adnabum.*

18. *Dr. Lewis Edwards.* See Note, p. 6, l. 29.

yma. Ond rhai go sâl yden nhw am edrach ar ol yr ened."

"Wel," ebe'r Doctor, "yr oeddwn yn clywed fod pobl yr Eglwys hefyd yn edrych ar ol yr enaid. Yn y diwygiad yma yr oedd gennych yn yr Eglwys gyfarfodydd gweddïo fel ninnau yn y capel, onid oedd ?"

"Oedd, Mr. Edwards," ebe Dafydd, "ond wyddoch chi'r gair ddoth i'm meddwl i wrth eu gweld nhw wrthi ?"

"Na wn i, yn siwr," ebe'r Doctor.

"A'r swynwyr a wnaethant yr un pethau," ebe Dafydd, a chwarddodd y Doctor nes oedd ei ochrau yn mynafyd.

---

*Line.*

12. "*A'r swynwyr a wnaethant yr un pethau,*" Exodus, viii, 11. The quotation is not exact. Observe that in the Welsh Bible, the relative construction is often used with the meaning of a simple sentence, and the verb is put in the plural.

14. *mynafyd,* hurting. Also *bynafyd,* which suggests that the form is derived from *ymanafu>mynafu,* and is then treated as having a *b* radical. Cf. *bydrochi<ymdrochi,* and *bygega<ymgega.*

# The Mold Dialect.

Daniel Owen was a native of Mold, a town situated in Flintshire, within some twelve miles of the Cheshire border. Born in 1836, he was apprenticed to a tailor, but subsequently entered the ministry, and spent some time at Bala College. Indifferent health and the care of a sister and a widowed mother, however, compelled him to leave college and to enter business, in the intervals of which he wrote four novels, a volume of essays, a book of sketches and verse, and the short stories from which this little work is a selection. He died in 1895, and a bronze statue has been erected in his honour in his native town.*

Flintshire is a border county in which at present the two principal dialects of North Wales are spoken. These dialects may broadly be described as those of Gwynedd and Powys. The most marked difference between them occurs in the treatment of the final unaccented diphthongs *ae*, *ai*, *au*, *ei*, and *eu*. In Powys, these diphthongs become *e*; in Gwynedd, *a*, but in Lleyn, the South-western part of Carnarvonshire, the *ai* remains in some words. In Flintshire, the Powys dialect prevails, the Gwynedd speech following, somewhat erratically, the western boundary of the county. Mold is the centre of a mining district, and the population is, therefore, mixed. The immigrants are of Welsh, Irish and English nationality; and this composite character of the community has left its mark upon the local dialect. At the present day, the Mold dialect is largely a medley of unassimilated English words and idioms, and speakers may frequently be found who,

*See "Cofiant Daniel Owen," by Isaac Foulkes.

like "Cwil" in "Enoc Evans, y Bala," do not observe the initial mutations. The dialect of Mold is current throughout the literary Welsh of Daniel Owen, with even the beginnings of its present state, but taken generally, his works represent the dialect as formerly spoken in the town, and as yet spoken in the outlying districts on the Welsh side.

The main differences between spoken and literary Welsh are comprised (*a*) in the partial or total rejection of literary words; (*b*) in the sporadic retention of synthetic verbal forms, with the exception, particularly, of the Substantive Verb, and the substitution of the words *wedi*, *daru*, *cael*, and *gwneud*, as temporal and modal auxiliaries; and (*c*) in the tendency towards the wearing down of idiomatic phrases into verbal forms. Literary words are rejected, sometimes without apparent reason, as in the case of *araf*, often replaced by *slo* (*Eng.*, *slow*); and sometimes manifestly for the sake of definition, as in the instance of *sicl* (*Eng.*, *sickle*), which exists, in a specialised sense, side by side with the native term, *cryman*.

An exhaustive treatment of the deviations of this dialect from literary orthography would be outside the scope of this little work, but the principal divergencies will be found tabulated in following pages.

## § 1 (*a*) Vowels and Diphthongs.

| | *Literary.* | *Spoken.* | *Examples.* |
|---|---|---|---|
| ACCENTED MONOSYLLABLES | ae | au, a | gwaed, gwaud; mae, ma (before consonants) |
| | ai | ei | only in neid. |
| | oe | ou | troed, troud. |
| | yw | iw, w | rhyw, rhiw, rhw; dryw driw. |
| ACCENTED PENULT | ae | ei, eu | gweiddi, *from* gwaedd; gweudu, *from* gwaed. |
| | ai | ei | teilo, *from* tail. |
| | aw | o, ow | oriau, *from* awr; mowrion, *from* mawr. |
| | oe | ou | pouthi, *from* poeth. |
| | yw | ow, iw | rhowiog, *from* rhyw; biwiog, *from* byw. |
| | wŷ | w | gwchion, *from* gwŷch. |
| | ŵy | wŷ | gwŷddau, *from* gŵydd. |
| | uw | iw | diwiol, *from* duw. |
| UNACCENTED FINAL | ae | e | marwolaeth, marwoleth. |
| | au | e | pennau, penne. |
| | ai | e | gobaith, gobeth. |
| | aw* | o | taraw, taro, &c. |
| | yw | iw, i | heddyw, heddiw; ydyw, ydi. |
| | ŵy | w | maent hwy, ma-nhw; ydwyf, ydw; morthwyl, mwrthwl. |
| PRETONIC | a, e, i, o | y | amddiffyn, ymddiffyn. ceffylau, cyffylau. difetha, dyfetha. gobeithio, gybeithio. |

*Historic *aw* is rendered *o* except in *hylaw, distaw, dwyawr, seithawr, seithlaw,* and possibly some other instances, but note that *dwylo* undergoes the regular change.

### (*b*) Consonants.

| | *Literary.* | *Spoken.* | *Examples.* |
|---|---|---|---|
| ACCENTED MONOSYLLABLES | f | suppression | haf, ha ; gwnaf, gna. Exception, braf. |
| | dd | ,, | cerdd (verb), cer ; ffordd, ffor ; bwrdd, bwr. |
| | th | ,, | beth, be (only instance). |
| UNACCENTED FINAL | f | suppression | canaf, cana, &c. |
| | t | ,, | canant, canan, &c. |
| | rth | ,, | trafferth, traffeth (only). |
| | ll | dissimilation | cyllell, cylleth (only). |
| | thr | metathesis | ewythr, ewyrth; dieithr, dierth. |

(*c*) There are exceptions to some of the rules tabulated above. In *byw*, *clyw*, *gwyw*, *llyw*, and possibly some other instances, the *y* does not become *i*. Under the penult accent, *yw* becomes *w* in *clwed*, *dwed* (2nd pers. sing. Imp., lit., *dywed*), and *rhwfun* (*rhywun*) ; whereas in *heddyw*, the *y* is a consonantal *i*, and the *w* is fully vocalic,—*hedd-i-w* ; and in *gwyfo*, lit. *gwywo*, the *y* retains its sound and the second *w* is fully labialised. Another instance of the complete labialisation of *w* is found in *gorfedd*, lit. *gorwedd;* and children show a decided preference for *glofio*, rather than *glowio*, the common form among adults, from *glaw*.

(*d*) The suppression of final *t* is also regular in the 3rd plu. of pronominal prepositions, e.g., *atyn*, *iddyn*, *wrthyn*. In the 1st plu. of pronominal prepositions and of verbs in the Past Imperf. and Pluperf. synthetically used, the final *m* is assimilated with the initial *n* of the terminal insistent, *ni*, producing the forms *aton* (*ni*), *dysgen* (*ni*), *dysgasen* (*ni*), &c.

I Infection occurs in *igien* (*ugain*), *llinin* (*llinyn*), and *inion* (*union*), &c.

## § 2 ENGLISH SOUNDS.

English loan-words can be resolved into ancient and modern. Words of the former class probably preserve their old English or early modern English sounds; those of the latter approximately take their modern English sounds, but the shortening of vowels on the penult is a notable feature.

### (*a*) Simple Vowels and Diphthongs.

| | *Eng.* | *Welsh.* | *Examples.* |
|---|---|---|---|
| Accented Monosyllables | a<br>i | â<br>u | *brave,* brâf.<br>*bit,* but; *grit,* grut; *miss,* muss. |
| Accented Final | e | ê | *Parliament,* Parlamênt. |
| Unaccented Final | a<br>e<br>i<br>o | e and o<br>a<br>u<br>w | *currants,* cyrrens; *policeman,* plismon.<br>*appointment,* pwyntmant.<br>*whiting,* wəutun.<br>*cotton,* cotwm; *button,* botwm. |
| Accented Monosyllables | ai<br>au<br>aw<br>ay<br>ea<br>ee<br>u (eu)<br>i<br>oi, oy<br>ou<br>o w | au, ai<br>a, aw<br>o, aw<br>âu<br>e, ïa<br>ŷ, u<br>iw<br>əi<br>əi, ŵy, wi<br>w, ow<br>o, ow | *plain,* plaun; *fair,* ffair.<br>*daunt,* dantio; *da(u)nce,* dawns.<br>*brawn,* brôn; *flaw,* fflaw.<br>*sway,* swâu; *stays,* stâus.<br>*neat,* nêt; *fear,* ffïar.<br>*street,* strŷd; *fleet,* fflût.<br>*cute,* ciwt; *flute,* ffliwt.<br>*fine,* ffəin.<br>*coin,* cwəin; *point,* pwynt; *buoy,* bwi.<br>*pouch,* pwtsh; *touch,* twtsh; *court,* cowrt.<br>*slow,* slo; *row* (disturbance), row. |

## CORRECTION.

Page 47, line 20, for "th, voiced," read "th, unvoiced."

### Simple Vowels and Diphthongs—*Continued.*

| | *Eng.* | *Welsh.* | *Examples.* |
|---|---|---|---|
| UNACCENTED FINAL | ay | e | *railway*, relwe. |
| | ea | i | *guinea*, gini. |
| | io | i–w, io | *question*, cwestiwn ; *station*, stesion. |
| | u (eu) | i–w & ü | *picture*, picti–wr ; *fortune*, ffortun. Also ffortsi–wn. |
| | ou | w | *warehouse*, wàrws. |
| | ow | o | *fellow*, ffelo. |

### (*b*) Consonants.

| *Eng.* | *Welsh.* | *Examples.* |
|---|---|---|
| b, initial | p | *bottle*, potel ; *bowl*, powlen. |
| ch | si, tsh | *cha(u)nce*, siawns ; *chap*, tshap. |
| c, k | kj | *carriage*, kjarredz ; *kite*, kjeit. |
| g | gj | *gas*, gjas. |
| j—dz | j—dz | Subjected to mutation. See Table |
| r, initial | rh | *right*, rheit ; *rub*, rhwbio. |
| th, voiced | t | *thank you*, tanciw. |
| v | b, m, ff | *vex*, becsio ; *venture*, menter ; *vetches*, ffetshis. |
| wh | chw | *whip*, chwip ; *while*, chweil. |
| w, initial | gw | *wait*, gweitied. |
| w, final | — | *slow*, slo. |
| z | s | *zeal*, sêl. |

(*c*) It should be noted that there are many exceptions to these rules. In many words *ee*=î, e.g., *feed*, ffid ; *breed*, brîd, &c. Final *w*, suppressed in long accented monosyllables, and unaccented final syllables, is completely labialised under the penult accent, e.g., *slofi* from *slow*, and *lwfio* from *allow*. Occasionally, it develops a broad ü sound, as in *touo*, from *tow*. Before the verb-noun termination,-io, generally, the fully

rounded sound of *w* is preserved in short diphthongs—*rowio*, from *row* (quarrel); *bowio* from *bow.* *S*=z is generally unvoiced—*daisy, dessi;* and in one instance,—*siort,* from *sort,—s*=sh.

---

## § 3 MUTATION OF FOREIGN SOUNDS.

THE foreign sounds ch & j, are subjected to initial mutation as shown in the accompanying table :—

| *Sounds.* | *Examples.* | | |
|---|---|---|---|
| | *Radical.* | *Vocalic.* | *Nasal.* |
| ch | tshjaen (chain) | dzjaen | nzhjaen. |
| j | dzjug (jug) | zjug | nzjug. |

In early borrowals, the foreign elements *ch,* & *j,* when final, diphthongise the preceding vowel, e.g., *cage, caets, cabbage, cabaits*; *sage, saets.*

## § 4 THE SUBSTANTIVE VERB.

The following table shows the dialect divergencies from the literary use of the Substantive Verb.* :—

### (*a*) Indicative.

| PRESENT. | | ITERATIVE PRESENT AND FUTURE. | |
|---|---|---|---|
| *Sing.* | *Plu.* | *Sing.* | *Plu.* |
| mi rydw (i)<br>— rwyt (ti)<br>ydi, mae (o, hi) oes, sy | mi ryden (ni)<br>— rydech (chi)<br>—maen (nhw), and the sing. forms, used before nominatives and after relatives. | mi fydda (i)<br>— fyddi (di)<br>— fydd (o, hi) | mi fyddwn (ni).<br>— fyddwch (chi).<br>— fyddan (nhw). |
| **PAST.** | | **ITERATIVE IMPERFECT AND CONDITIONAL.** | |
| mi roeddwn (i)<br>— roeddet (ti)<br>— roedd (o, hi) | mi roedden (ni)<br>— roeddech (chi)<br>— roedden (nhw) | mi fyddwn (i)<br>— fyddet (ti)<br>— fydde (fo, hi) | mi fydden (ni).<br>— fyddech (chi).<br>— fydden (nhw). |
| **PRETERITE AND PERFECT.** | | **PLUPERFECT.** | |
| mi fum,–fus,–fues,–fuom, or mi rydw i wedi bod<br>— fuost,–fust,–fuest, &c.<br>— fu,–fuo,–fuodd, &c. | mi fuon (ni) or, mi ryden ni wedi bod,&c.<br>— fuoch (chi), &c.<br>— fuon (nhw), &c. | mi roeddwn (i) wedi bod, baswn<br>— roeddet (ti) wedi bod, baset.<br>—roedd (o, hi) wedi bod, base. | mi roedden (ni) wedi bod, basen.<br>—roeddech (chi) wedi bod, basech.<br>—roedden (nhw) wedi bod, basen. |

* See *Anwyl's Grammar*, § 195a and 195b.

### Subjunctive.

| PRESENT. | | PAST. | |
|---|---|---|---|
| bof (fi) | bôn, byddon (ni) | bawn (i), by-dawn | baen (ni), by-daen |
| bôt, byddot, bôch, byddoch | bôch, byddoch (chi) | baet (ti), by-daet | baech (chi), by-daech |
| bo, byddo. | bôn, byddon (nhw) | bae (o, hi), by-dae | baen (nhw), by-daen |

### Imperative.

| | |
|---|---|
| Sing. 2, bydd. 3, boed, bydded. | Plu. 2, byddwch. 3, byddan. |

(*b*) With the exception of *buwyd*, in such a phrase as "*mi fuwyd yn meddwl*," "it was, or has been thought," the Impersonal forms are hardly ever used. The synthetic tenses are almost entirely displaced by the use of auxiliaries, the principal of which are :—*bod*, *cael*, *daru* (*darfu*), and *gwneud*.* When the condition is expressed by *pe* (if), there is a distinct Pluperfect Subjunctive use of the verb :—by-daswn, by-daset, by-dase, &c. When, according to literary usage, it would be conditioned with *fel y* "so that," there is a wide-spread tendency to employ the future forms (*fel y ca i*, *fel y cei di*, *fel y ceith o*, &c.), or to express the sense with the help of an equivalent phrase, such as *er mwyn* (*er mwyn i mi fod*, "so that I may be," &c.)

* Anwyl's Grammar, pp. 68—69, §§ 279—280.

## § 5 PARADIGMS OF THE AUXILIARY AND IRREGULAR VERBS.

### (*a*) CAEL.

### Indicative.

| Present. | | Iterative Present. | |
|---|---|---|---|
| *Sing.* | *Plu.* | *Sing.* | *Plu.* |
| mi rydw i'n cael, &c. | mi ryden ni'n cael, &c. | mi fydda i'n cael, &c. | mi fyddwn ni'n cael, &c. |
| **Past.** | | **Imperfect and Conditional.** | |
| mi roeddwn i'n cael, &c. | mi roedden ni'n cael, &c. | mi fyddwn i'n cael. | mi fydden ni'n cael. |
| **Preterite and Perfect.** | | **Pluperfect.** | |
| mi gês, mi geis, or, mi rydw i wedi cael.<br>— gêst,–geist, &c.<br>— gafodd, &c. | mi gawson (ni), or, mi ryden ni wedi cael.<br>— gawsoch (chi), &c.<br>— gawson (nhw), &c. | mi gawswn, or mi roeddwn i wedi cael.<br>— gawset, &c.<br>— gawse, &c. | mi gawsen, or mi roedden ni wedi cael.<br>— gawsech (chi), &c.<br>— gawsen (nhw), &c. |

| Future. | |
|---|---|
| *Sing.* | *Plu.* |
| mi ga (i). | mi gawn (ni). |
| — gei (di). | — gewch (chi). |
| — geith, or geiff (o) | — gân (nhw). |

## Paradigms of the Auxiliary and Irregular Verbs—*Continued.*

### Subjunctive.

| PRESENT. | | PAST IMPERFECT. | |
|---|---|---|---|
| | caffon (ni). | cawn (i). | caen (ni). |
| caffot (ti). | caffoch (chi). | caet (ti). | caech (chi). |
| caffo (fo) | caffon (nhw). | cae (o). | caen (nhw). |

### Imperative.

| | |
|---|---|
| Sing. 3, caed, caffed. | Plu. 3, caffon. |

### (*b*) DWAD=DYFOD.

### Indicative.

| PRESENT. | | ITERATIVE PRESENT. | |
|---|---|---|---|
| *Sing.* | *Plu.* | *Sing.* | *Plu.* |
| mi rydw i'n dwad, &c. | mi ryden ni'n dwad, &c. | mi fydda i'n dwad, &c. | mi fyddwn ni'n dwad. &c. |
| **PAST.** | | **IMPERFECT AND CONDITIONAL.** | |
| mi roeddwn i'n dwad, &c. | mi roedden ni'n dwad, &c. | mi fyddwn i'n dwad, &c. | mi fydden ni'n dwad, &c. |

(*b*) **Dwad (Indicative)**—*Continued.*

| Preterite and Perfect. | | Pluperfect. | |
|---|---|---|---|
| mi ddois (i) | mi ddoethon ni, mi ddoeson (ni). | mi ddoethwn, ddoeswn, mi roeddwn i wedi dwad. | mi ddoethen, ddoesen, (or) mi roedden ni wedi dwad. |
| — ddoist (ti) | —ddoethoch, mi ddoesoch (chi). | — ddoethet, &c. | — ddoethech, &c. |
| — ddoth (o). | — ddoethon, mi ddoeson (nhw). | — ddoethe, &c. | — ddoethen, &c. |

**FUTURE.**

| *Sing.* | *Plu.* |
|---|---|
| mi ddo (i). | mi ddown (ni). |
| — ddoi (di). | — ddowch (chi). |
| — ddaw (o). | — ddôn (nhw). |

## Subjunctive.

| Present. | | Past Imperfect. | |
|---|---|---|---|
| deloi | delon (ni). | down (i). | doen (ni). |
| delot (ti). | deloch (chi). | doet (ti). | doech (chi). |
| delo (fo). | delon (nhw). | doe (o). | doen (nhw). |

## Imperative.

| | |
|---|---|
| Sing. 2, tyd. 3, doed. | Plu. 1, down. 2, dowch. 3, dôn. |

## Paradigms of the Auxiliary and Irregular Verbs—*Continued.*

### (c) GWNEUD.

### Indicative.

| Present. | | Iterative Present. | |
|---|---|---|---|
| mi rydw i'n gneud, &c. | mi ryden ni'n gneud, &c. | mi fydda i'n gneud, &c. | mi fyddwn ni'n gneud, &c. |
| **Imperfect and Conditional.** | | **Iterative Imperfect.** | |
| mi nawn, mi roeddwn i'n gneud.<br>— naet, &c.<br>— nae, &c. | mi naen, &c.<br>— naech, &c.<br>— naen, &c. | mi fyddwn i'n gneud, &c. | mi fydden ni'n gneud, &c. |
| **Preterite and Perfect.** | | **Pluperfect.** | |
| mi nes, neis (i).<br>— nest, neist (ti).<br>— nâth, naeth (o). | mi neuthon, neuson (ni).<br>— neuthoch, neusoch (chi).<br>— neuthon, neuson (nhw). | mi roeddwn i wedi gneud, or mi neuthwn, neuswn, &c. | mi roedden ni wedi gneud, or mi neuthen, neusen, &c. |

FUTURE.

| *Sing.* | *Plu.* |
|---|---|
| mi nâ (i). | mi nawn (ni). |
| — nei (di). | — newch (chi). |
| — neith, neiff (o). | — nân (nhw). |

## Subjunctive.

| Present. | | Past. | |
|---|---|---|---|
| gneloi | gnelon (ni). | gnawn (i). | gnaen (ni). |
| gnelot (ti). | gneloch (chi). | gnaet (ti). | gnaech (chi). |
| gnelo (fo). | gnelon (nhw). | gnae (o). | gnaen (nhw). |

## Imperative.

| | |
|---|---|
| Sing., 2, gna, gnaed. | Plu. 2, gnewch. 3, gnân. |

## (*d*) GWYBOD.

## Indicative.

| Present. | | Iterative Present and Future. | |
|---|---|---|---|
| mi wn (i). | mi wyddon (ni). | mi fydda i'n gwbod, &c. | mi fyddwn ni'n gwbod, &c. |
| — wyddost, (interrog.) wyst (ti). | — wyddoch (chi). | | |
| — ŵyr (o). | — wyddon (nhw). | | |
| also | | | |
| mi rydw i'n gwbod, &c. | mi ryden ni'n gwybod, &c. | | |

## Paradigms of the Auxiliary and Irregular Verbs—*Continued.*

### (*d*) Gwybod (Indicative)—*Continued.*

| Imperfect and Conditional. | | Iterative. | |
|---|---|---|---|
| mi wyddwn (i).<br>— wyddet (ti).<br>— wydde (fo). | mi wydden (ni).<br>— wyddech (chi).<br>— wydden (nhw). | mi wyddwn (i).<br>&c. | mi wydden (ni).<br>&c. |
| also | | also | |
| mi roeddwn i'n gwbod,<br>&c. | mi roedden ni'n gwbod<br>&c. | mi fyddwn i'n gwbod,<br>&c. | mi fydden ni'n gwbod,<br>&c. |

| Preterite and Perfect. | | Pluperfect. | |
|---|---|---|---|
| mi wybum (i).<br>— wybust (ti).<br>— wybu (o). | mi wybuon (ni).<br>— wybuoch (chi).<br>— wybuon (nhw). | | |
| also | | | |
| mi fum yn gwbod,<br>&c. | mi fuon yn gwbod,<br>&c. | mi roeddwn i wedi gwbod, &c. | mi roedden ni wedi gwbod,<br>&c. |

### Subjunctive.

| Present. | | Past Imperfect. | |
|---|---|---|---|
| bof fi'n gwbod,<br>&c. | bon ni'n gwbod,<br>&c. | bawn i'n gwbod,<br>&c. | baen ni'n gwbod,<br>&c. |

### Imperative (*seldom heard*).

| | |
|---|---|
| Sing. 2, gwybydd. 3, gwybydded. | Plu. 2, gwybyddwch. |

## (*e*) MYND.

### Indicative.

| PRESENT. | | ITERATIVE PRESENT. | |
|---|---|---|---|
| *Sing.* | *Plu.* | *Sing.* | *Plu.* |
| mi rydw i'n mynd, &c. | mi ryden ni'n mynd, &c. | mi fydda i'n mynd, &c. | mi fyddwn ni'n mynd, &c. |
| **PAST.** | | **IMPERFECT AND CONDITIONAL.** | |
| mi roeddwn i'n mynd, &c. | mi roedden ni'n mynd, &c. | mi fyddwn i'n mynd, &c. awn. aet. ae. | mi fydden ni'n mynd, &c. aen. aech. aen. |
| **PRETERITE AND PERFECT.** | | **PLUPERFECT.** | |
| mi ês, eis (i).<br>— est, eist (ti).<br>— ath, aeth (o). | mi euthon (ni).<br>— euthoch (chi).<br>— euthon (nhw). | mi euthwn (i).<br>— euthet (ti).<br>— euthe (fo). | mi euthen (ni).<br>— euthech (chi).<br>— euthen (nhw). |

| FUTURE. | |
|---|---|
| *Sing.* | *Plu.* |
| mi â (i).<br>— ei (di).<br>— eith, eiff (o). | mi awn (ni).<br>— ewch (chi).<br>— ân (nhw). |

## Paradigms of the Auxiliary and Irregular Verbs.—*Continued.*

### Subjunctive.

| Present. | | Past Imperfect. | |
|---|---|---|---|
| eloi<br>elot (ti).<br>elo (fo). | elon (ni).<br>eloch (chi).<br>elon (nhw). | awn (i).<br>aet (ti).<br>ae, ai (o). | aen (ni).<br>aech (chi).<br>aen (nhw). |

### Imperative.

| | |
|---|---|
| Sing. 2, dos. 3, aed. | Plu. 1, awn. 2, ewch. 3, ân. |

### (*f*) NOL.*

### Indicative.

| Present. | | Iterative Present. | |
|---|---|---|---|
| mi rydw i'n nol, &c. | mi ryden ni'n nol, &c. | mi fydda i'n nol, &c. | mi fyddwn yn nol, &c. |
| **Imperfect and Conditional.** | | **Iterative Imperfect.** | |
| mi nolwn (i), mi roeddwn i'n nol.<br>— nolet (ti), &c.<br>— nole (fo), &c. | mi nolen (ni), &c.<br>— nolech (chi), &c.<br>— nolen (nhw), &c. | mi fyddwn i'n nol, &c. | mi fydden ni'n nol, &c. |

*See Notes, p. 7, l. 17.

(*f*) **Nol (Indicative)**—*Continued.*

| Preterite and Imperfect. | | Pluperfect. | |
|---|---|---|---|
| mi noles | mi nolson (ni). | mi nolswn (i). | mi nolsen (ni). |
| — nolest (ti). | — nolsoch (chi). | — nolset (ti). | — nolsech (chi). |
| — nolodd (o), | — nolson (nhw). | — nolse (fo). | — nolsen (nhw). |
| | | also | |
| | | mi roeddwn i wedi nol, &c. | mi roedden ni wedi nol, &c. |

FUTURE.

| Sing. | Plu. |
|---|---|
| mi nola (i). | mi nolwn (ni). |
| — noli (di). | — nolwch (chi). |
| — nolith, noliff (o). | — nolan (nhw). |

**Subjunctive** (*seldom heard*).

| Present. | | Past. | |
|---|---|---|---|
| noloi | nolon (ni). | nolwn, &c. | nolen &c., |
| nolot (ti). | noloch (chi). | or | or |
| nolo (fo). | nolon (nhw). | bawn i'n nol, &c. | baen ni'n nol, &c. |

**Imperative.**

| | |
|---|---|
| Sing. 2, nol. 3, noled. | Plu. 2, nolwch. 3, nolan. |

## Paradigms of the Auxiliary and Irregular Verbs.—*Continued.*

### (*g*) RHOI.

### Indicative.

| | | | |
|---|---|---|---|
| PRESENT. | | ITERATIVE PRESENT. | |
| mi rydw i'n rhoi, &c. | mi ryden ni'n rhoi, &c. | mi fydda i'n rhoi, &c. | mi fyddwn ni'n rhoi, &c. |
| IMPERFECT AND CONDITIONAL. | | ITERATIVE IMPERFECT. | |
| mi rown, *or* mi roeddwn i'n rhoi, &c. | mi roen, &c. | mi rown, *or* mi fyddwn yn rhoi, &c. | mi roen, &c. |
| PRETERITE AND PERFECT. | | PLUPERFECT. | |
| mi rois (i).<br>— roist (ti).<br>— roth (o). | mi roeson (ni).<br>— roesoch (chi).<br>— roeson (nhw). | mi roeddwn i wedi rhoi, &c.<br>also<br>rhoeswn.<br>rhoeset.<br>rhoese. | mi roedden ni wedi rhoi, &c.<br>also<br>rhoesen.<br>rhoesech.<br>rhoesen. |

FUTURE.

| *Sing.* | *Plu.* |
|---|---|
| mi rô (i). | mi rown (ni). |
| — roi (di). | — rowch (chi). |
| — rydd (o). | — rôn (nhw). |

### (*g*) **RHOI**.—*Continued.*

## Subjunctive.

| Present. | | Past. | |
|---|---|---|---|
| rhothwy (i). | rhothon (ni). | rhown (i). | rhoen (ni). |
| rhothot (ti). | rhothoch (chi). | rhoet (ti). | rhoech (chi). |
| rhotho (fo). | rhothon (nhw). | rhoe (o). | rhoen (nhw). |

## Imperative.

| | |
|---|---|
| Sing. 2, rho. 3, rhoed. | Plural, 1, rhown. 2, rhowch. 3, rhôn. |

## § (6) PARADIGM OF THE VERB-NOUN.

### (*a*) GWELED.

### Indicative.

| PRESENT. | PRETERITE AND PERFECT. |
|---|---|
| *Sing.* mi rydwi 'n gweld<br>— rwyt ti'n ———<br>mae o, mae hi'n——— | *Sing.* mi weles (i) *or* mi ddaru mi weld, &c.<br>———est (ti).<br>———odd (o, hi). |
| *Plu.* mi ryden ni'n ———<br>— rydech chi'n ———<br>maen nhw'n ——— | *Plu.* mi welson (ni).<br>———soch (chi).<br>———son (nhw). |
| IMPERFECT AND CONDITIONAL. | PLUPERFECT. |
| *Sing.* mi welwn (i) *or* mi roeddwn i'n gweld, &c.<br>———et (ti).<br>———e (fo, hi). | *Sing.* mi welswn (i) *or* mi roeddwn i wedi gweld, &c.<br>———set (ti).<br>———se (fo, hi). |
| *Plu.* mi welen (ni).<br>———ech (chi).<br>———en (nhw). | *Plu.* mi welsen (ni).<br>———sech (chi).<br>———sen (nhw). |

FUTURE.

| | |
|---|---|
| *Sing.* mi wela (i).<br>———i (di).<br>— wêl (o, hi), *or* gwelith, gweliff. | *Plu.* mi welwn (ni).<br>———wch (chi).<br>———an (nhw). |

